# GRAMADEG CYMREIG;

GAN W. WILLIAMS,

(Caledfryn,)

AWDWR "Y DRYCH BARDDONOL," &c., &c.

CAERDYDD:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN W. OWEN.

DMCCCLI.

# AT Y DARLLENYDD.

---

Yn y flwyddyn 1822 cyhoeddwyd llyfr gan yr awdwr dan yr enw, CYFARWYDDIADUR *i ddarllen ac ysgrifenu Cymraeg*. Cynwysai y llyfr hwnw arweiniad i'r Gramadeg Cymreig, a chyfarwyddiadau i ddarllen yn rheolaidd.

Yn y flwyddyn 1830 cyhoeddwyd ail argraffiad o'r CYFARWYDDIADUR gydag ychwanegiadau helaeth.

Yn bresenol wele gynygiad ar Gyfarwyddiadur helaethach, yn yr hwn y cynwysir sylwedd y ddau lyfr a enwyd, a lluaws o bethau ereill na allasid eu cynwys ynddynt hwy.

Amcenir, drwy gyhoeddiad y llyfr hwn, arwain y darllenydd i dir newydd, nad ydyw yn cael ei sangu yn gyffredin yn ein Gramadegau Cymreig. Heb hyn ni fuasai gan yr awdwr unrhyw reswm dros gyhoeddi ei waith mewn gwlad lle y mae cynifer o Ramadegau derbyniol yn nwylaw y genedl eisoes.

Y mae yr Awdwr wedi anturio yn mhellach, na Gramadegwyr yn gyffredin, gyda golwg ar yr Orgraff. Er hyn y mae ei feddwl yn hollol agored eto i dderbyn argyhoeddiad, os dygir rheswm ac nid *mympwy* dros arferiad rhai o'r Cydseiniaid dyblyg. Er i Bwyllgor* gael ei ddewis, drwy lais y genedl, yn y flwyddyn 1840, i edrych i fewn i'r Orgraff, drwg gan yr awdwr orfod mynegu na chyfarfu y Pwyllgor hwnw erioed, ac

* Dywed Ieuan ab Gruffudd, gyda golwg ar y Pwyllgor, i Gymreigyddion y Feni "Erfyn ar bob Golygydd, Cyfansoddydd, Efrydydd, ac Ysgolor, i benodi ei gynrychiolwr mewn llythyr at yr Ysgrifenydd, fel y gallid dewis pump o foneddigion, y cyfryw a gaent y rhif luosocaf o bleidleisiau i sefydlu safon gyfundraethawl yn ol teleidrwydd Cystrawenawl yr Iaith." Ac fod "Y pump a gawsant y rhif luosocaf o bleidleisiau wedi cymeryd y swydd yn ewyllysgar; ac addunedu y gwnant eu goreu er cyflawni yr ymgais, ac y maent oll yn llênorion ymddiriedawl, sef, y Parch. J. Jones, (*Tegid*), T. Edwards, Ysw., (*Caerfallwch*), y Parch. W. Williams, (*Gwilym Caledfryn*), Aneurin Owen, Ysw., a Mr. S. Evans, (*Golygydd Seren Gomer*). Gan hyny wele y Pwyllgor wedi ei sefydlu, a thrwy fod yr aelodau enwedig wedi cael eu dewis gan y cyffredin, hyderir y bydd pob gwladgarwr yn barod i'w cynorthwyaw yn eu holl oberiadau."

na chlywodd ef air oddiwrth un o'r aelodau ond oddiwrth y Parch. J. Jones, M.A., (*Tegid*), yr hwn a amlygai awydd am ddyfod i ryw benderfyniad ar y mater: ond heb ei sefydlu y mae yr Orgraff hyd yma; ac y mae gan bob un hawl i ysgrifenu yn yr Orgraff a fyno, heb gan neb hawl i'w feio; canys lle nid oes deddf nid oes gamwedd.

Y mae amryw eiriau yn cael eu camsillebu yn Gymraeg, y rhai ydynt yn gosod y darllenydd yn agored i gael ei gamarwain, y rhai, efallai, a deilyngant sylw; megis, y geiriau difynu, dilyn, a diogel.

*Difynu* a ysgrifenir d*y*fynu, yr hyn sydd yn groes i'w ystyr wreiddiol; oblegid nid *mynu* rhyw beth a feddylir pan arferir y gair; ond cymeryd rhan, neu dori darn, o beth. O d*i*fyn (*fragment*) y mae yn tarddu. Pan arferir y gair mewn llênyddiaeth, golygir cymeryd rhan o waith awdwr; gan hyny d*i*fynu a ddylai fod. A d*i*fynu yw y gair mewn cysylltiad â chyllell y llawfeddyg hefyd.

*Dilyn* a ysgrifenir gan rai yn d*y*lyn, yr hyn nid all fod yn gywir; oblegid ystyr d*i*lyn yw symud, myned. *Glynu* yw d*y*lyn, yr hyn sydd hollol groes i feddwl y gair *symud*.

*Diogel* a ysgrifenir d*y*ogel. Os o *go gel* y mae y gair yn tarddu, d*i*ogel y dylid ei ysgrifenu. *Go gel* yw cuddio, neu gadw mewn rhan; ac y mae *dy* yn Flaenddodyn cadarnhäol iddo yn yr ystyr hyny; ond y mae d*i*-o-gel-u yn arwyddo *celu* neu *gadw* yn *hollol*. Nid *go gelu* ond d*i*-o-gel-u.

Arferir *cysawd* a *chyfundraeth* mewn ystyr anmhriodol hefyd. Dywedir, "Cysawd yr haul;" a "Chysawd Duwinyddol."

Cysawd a dardda o *cys*, sef, yr un peth a *cyd* a *cyf;* y mae cysawd yn arwyddaw *affix*, gosodiad, at ddodiad, neu ddodiad at.

"Tyr efe yr arfau yn nghyfar y gysawd."

"He will break the weapons close to the junction with the hilt."—*Gwel Dr. O. Puw.*

Trefniant neu gyfundrefn fyddai y goreu yn y ddau amgylchiad a nodwyd. Y mae son am "Gyfundraith yr haul" yn gyfeiliornus hefyd; oblegid lle byddo cyfundraith yn briodol dylai fod *traith* neu *druethu* yn perthyn i'r peth. Gwnai "Cyfundraith Dduwinyddol" y tro; ond na ddyweder "Cyfundraith yr haul," ond naill ai cyfundrefn neu drefniant.

Arferir gair yn Ferf, weithiau, mewn ystyr hollol anmhriodol; megis, "Myfyrio ar *gyfeiliorni*," yn lle "Myfyrio ar gyfeiliornad;" a defnyddir y gair *cynwys* yn lle cynwysiad; megis,

"Y mae ei *gynwys* yn rhagorol;" yn lle "Y mae ei gynwysiad yn rhagorol." Arfer rhai y gair *golchi* am guro, neu ddulio, yr hyn sydd yn hollol afresymol; oblegid, golchi yw glanhau, puro, ac nid curo â gwialen neu â ffon.

*Gweithydd* sydd air a ddefnyddir yn hollol groes i'w ystyr; oblegid fe'i harferir am gyfansoddiadau rhyddieithol neu farddonol, pan mewn gwirionedd mai *gweithiwr* yw ei ystyr briodol. Llusgir y gair *cyfansoddiad* oddiwrth ei ystyr briodol yn mhell pan ddodir ef i arwyddo ffurflywodraeth *(constitution)*.

Gallasid enwi lluaws o eiriau ereill a gamarferir o ryw rodres gwag, a hyny gan wŷr y dysgwylid pethau gwell oddiwrthynt. Oferedd, y mae yn debygol, ini ddisgyn at yr ansoddeiriau a arferir yn anmhriodol gan y lluaws; megis, y geiriau *aflawen*, *budr*, *cynddeiriog*, *garw*, *gerwinol*, ac *ofnadwy*. Arferir y rhai hyn, a nifer o eiriau cyffelyb, mewn ystyr hollol afresymol: ac y mae y dosbarth a'u harferant, fel y dosbarth sydd yn cyboli yr iaith, ac yn ei hacru, drwy glytio ei geiriau â darnau o eiriau Seisnig, ac arfer geiriau a brawddegau nad ydynt yn unol â rheolau unrhyw iaith o dan y nefoedd, allan o'u cyraedd ni yn llwyr.

Gall yr Awdwr fynegu, yn ddibetrus, mai nid ymgais am gymeryd lle unrhyw Ramadeg sydd yn gymeradwy eisoes, a barai iddo ymaflyd yn y gorchwyl o gyhoeddi y llyfr hwn; ond awydd am roi hyfforddiadau pellach i'r darllenydd Cymreig, nag a roir yn gyffredin; yn enwedig gyda golwg ar gyfansoddiad *(composition)*; sef, sylwi ar frawddegau o amryw fath—nodi beiau mewn brawddegau—egluro ffugyrau—beiau mewn cyffelybiaethau—Ieithweddau, a'r modd i gyraedd Ieithwedd dda, a lluaws o bethau nad ellir eu henwi yn bresenol.

Cafwyd defnyddiau at y pethau hyn, ac amryw bethau ereill, yn Blair, Brenan, Johnson, Watts, Lennie, Reid, Cobbett, a Henri Perri. A gwnaed defnydd helaeth o awdurdod Dr. O. Puw, gydag amryw bethau, megis y gwel y darllenydd.

Gan fod yr iaith Gymreig yn feddiant cyffredinol, fel y mae gan yr hwn a ewyllysio hawl i adrodd ei feddwl yn ei chylch, ac nad oes gan y naill blaid o ddynion mwy na'r llall freinteb *(patent)* arni, anturiodd yr Awdwr gyhoeddi y llyfr hwn i fod fel math o gydweithydd â'r Gramadegau sydd eisoes ar y maes. Y mae yn hyfryd i ni feddwl fod oes y gribddail lênyddol wedi myned heibio. Nid ydyw yr iaith i gael ei rhwymo wrth gromlech nac allor mwyach. Yn y dyddiau gynt nid oedd gan y wladwriaeth le i droi am addysg ond at feirdd ac offeiriaid, a bu y ddau

ddosbarth a enwyd yn nawdd rhagorol i'r Iaith a Henafiaethau ein gwlad. Y mae pethau wedi newid erbyn heddyw i raddau mawr. Clywir ereill yn mynegu, "Y mae genym ddeall fel chwithau." Caiff pob un ei brisio, yn bresenol, yn ol gwerth ei waith, ac nid yn ol y dosbarth y perthyna iddo; a gellir dywedd, y "Derbyn pob un ei briod wobr ei hun" yn y dyddiau yma. Ni chaiff awdurdod neb fyned yn mhellach nag ydyw o wir werth.

Y mae yr Awdwr yn anturio ger bron ei gydwladwyr heb unrhyw lythyrau canmoliaeth, na neb i ddwyn tarian iddo nac i udganu o'i flaen; dysgwylia gael sefyll neu syrthio yn ol teilyngdod neu annheilyngdod y gwaith ynddo ei hun.

Hyderir nad oes unrhyw wallau argraffyddol o bwys mawr yn y gwaith. Dichon fod mwy o lythyrenau mewn ambell air, a llai yn y llall, nag a ddylasai fod. Pe buasai yr Awdwr a'r wasg yn nes i'w gilydd ni allasai y pethau hyn ddianc mor hawdd. Pan gofio y darllenydd yn mha eiriau y mae yr awdwr am gael llythyrenau dyblyg, ac yn mha eiriau y mae am eu gwrthod, canfyddir y gwallau argraffyddol, od oes rhai i'w cael, heb eu nodi yma.

Nid oes gan yr Awdwr unrhyw reswm dros fyned â'r llyfr mor bell o gartref i'w argraffu, ond fod yr Argraffydd yn cymeryd yr antur i raddau mawr ar ei ysgwyddau ei hun; a chredir na siomir y prynydd yn null ei ddygiad allan.

Os etyb cyhoeddiad y Gramadeg hwn y dyben bwriadol, pan roddwyd yr anogaeth gyntaf i'r Awdwr, gan ei gyfaill diffuant, Ieuan Gwynedd, ac ereill, bydd hyny yn foddhad; neu os methiant a fydd, hydera yr Awdwr y cymer rhyw un arall y gorchwyl mewn llaw o geisio gwneud i fyny y diffygion sydd yn ein plith.

YR AWDWR.

*Llanrwst, Ion.* 1851.

# Y CYNWYSIAD.

## LLYTHYREG.


| | TUD. |
|---|---|
| Y Llafariaid | 10 |
| Y Cydseiniaid | 11 |
| Sillau | 13 |
| ACENYDDIAETH | 13 |
| GEIRYDDIAETH | 13 |

| | TUD. |
|---|---|
| RHANAU YMADRODD:— | |
| ENW | 14 |
| Rhywiau neu Fathau Enw | 15 |
| Cenedl Enw | 15 |
| Rhif Enw | 16 |
| Modd i luosogi Enw | 16 |
| Achos Enw | 17 |
| RHAGENW | 19 |
| ENW GWAN | 20 |
| Rhif Enw Gwan | 21 |
| Cenedl Enw Gwan | 22 |
| Graddau Enw Gwan | 22 |
| BERF | 24 |
| Personau | 24 |
| Rhif | 24 |
| Moddau | 25 |
| Amserau | 25 |
| Rhangymeriad | 26 |
| Treigliad Berf | 26 |
| RHAGFERF | 32 |
| BANNOD | 34 |
| CYSYLLTIAD | 34 |
| ARDDODIAD | 35 |
| CYFRYNGIAD | 37 |
| TARDDIAD GEIRIAU | 37 |


## CYSTRAWIAETH.


| | TUD. |
|---|---|
| Cystrawiaeth Enw Cadarn | 38 |
| Cystrawiaeth Enw Gwan | 38 |
| Cystrawiaeth Rhagenw | 40 |
| Cystrawiaeth Berf | 40 |
| Cystrawiaeth Rhagferf | 41 |
| Cystrawiaeth Bannod | 42 |
| Cystrawiaeth Cysylltiad | 43 |
| Cystrawiaeth Arddodiad | 43 |
| Cystrawiaeth Cyfryngiad | 43 |
| GWAHANNODIAD:— | |
| Rhagwahannod | 44 |
| Gwahannod | 46 |
| Drullymadrodd | 47 |
| Diweddnod | 47 |
| Nod o holedigaeth | 47 |
| Rhyfeddnod | 48 |
| Y Wahanlin | 48 |
| Sillgoll | 49 |
| Acen ddyrchafedig | 49 |
| Acen amgylchedig | 49 |
| Didolnod | 50 |
| Ymsangau | 50 |
| Prawfnod | 50 |
| Gwahanran | 50 |
| Cysylltnod | 51 |
| Diffyglin | 51 |
| Gwallnod | 51 |
| Mynegfys | 51 |
| Yr Unydd | 52 |
| Sernodau | 52 |

# CYNWYSIAD.


| | TUD. |
|---|---|
| Y PRIF LYTHYRENAU .... | 52 |
| Eglurhad ar derfyniadau Enw Gwan .......... | 53 |
| Mae *a* Mai, Ac *ac* Ag, &c | 55 |
| Ac *a* Nac, Ag *a* Nag .... | 55 |
| Ei *ac* Eu, A'i *ac* A'u .... | 56 |
| Geiriau Cydiadol........ | 56 |
| Camdarddu Geiriau .... | 57 |
| Camarferiad Geiriau .... | 58 |
| Y LLYTHYRAETH NEU YR ORGRAFF GYMREIG .... | 60 |
| GEIRIAU A BLAENDDODIAID sydd yn llywodraethu y CYDSEINIAID CYFNEWIDIOL ................ | 72 |
| METHIANT A GWENDID MEWN CYFANSODDIAD:— | |
| Cyfansoddiadau Amleiriog | 85 |
| Brawddegau.—Eu cyfansoddiad .............. | 89 |
| Eglurder .............. | 93 |
| Cyfundeb .............. | 97 |
| Cysondeb .............. | 103 |
| Yr &c., &c. ............ | 104 |
| Ystwythder mewn cyfansoddiad .............. | 104 |
| IEITHWEDD:— | |
| Yr Ieithwedd Gryno a'r Wasgaredig .......... | 106 |
| Yr Ieithwedd Gref a'r Wan | 107 |
| Yr Ieithwedd Sych a'r Ddiaddurn .......... | 108 |
| Yr Ieithwedd Ddillyn ... | 109 |
| Yr Ieithwedd Brydferth.. | 110 |
| Yr Ieithwedd Flodeuog .. | 110 |
| Yr Ieithwedd Syml... .. | 111 |
| Yr Ieithwedd Angherddol | 113 |
| Y modd i gyraedd Ieithwedd dda .......... | 113 |
| Purdeb Ieithwedd ...... | 115 |
| Priodoldeb Ieithwedd.... | 115 |
| Iaith Ffugyrol .......... | 119 |
| Trawsymddwyn ........ | 122 |
| Cyffelybiaeth ..... .... | 122 |
| Aralleg ................ | 124 |
| Dynsodiant ............ | 125 |
| Gwatwariaeth .......... | 126 |
| Gwrthdröad. .......... | 126 |
| Gormodiaith .......... | 127 |
| Trawsddodiad .......... | 127 |
| Dringeb................ | 127 |
| TONYDDIAETH:— | |
| Acen .................. | 128 |
| Pwyslais .... ........ | 128 |
| Gosteg ................ | 129 |
| Goslef ................ | 129 |
| DARLLENYDDIAETH:— | |
| Gwahanol ysgogiadau y meddwl mewn Darllenyddiaeth ............ | 131 |
| Y Pwyslais ............ | 134 |


## RHEOLAU BARDDONIAETH.


| | TUD. |
|---|---|
| Y Gynghanedd Gymreig.................... .............. | 142 |
| Y Pedwar Mesur ar Hugain ...... ...................... | 155 |
| Emynau................................................ | 173 |
| Y Bryddest neu y Gân Rydd.............................. | 179 |
| GWALLAU Y SYRTHIR IDDYNT:— | |
| I. Mewn ffugyrau ymadrodd .............................. | 182 |
| II. Camarferiad Geiriau.......... .................... | 185 |
| III. Yr arferiad gormodol o Ansoddeiriau ................ | 192 |
| IV. Cynghaneddion heb Ferfau neu Barwyddiaid ynddynt .... | 194 |
| V. Mewn chwaeth .. ...................... ............. | 196 |
| VI. Chwyddiaeth ...................... ............. | 199 |
| Cyfarwyddiadau i ysgrifenu i'r Wasg ...................... | 221 |
| Eglurhad ar eiriau perthynol i'r gelfyddyd o Argraffu .......... | 222 |

# GRAMADEG CYMREIG.

TAIR rhan iaith sydd: rhan feddyliedig, rhan ddywededig, a rhan ysgrifenedig, medd y ddiareb. Meddwl yw y peth cyntaf. Nid awn i ddadleu, yn bresenol, yn nghylch deddfau y meddwl, nac mewn perthynas i'r priodoldeb neu'r anmhriodoldeb o son am feddwl yn y Gymraeg neu yn y Saisonaeg; ond disgynwn at y mater sy genym mewn golwg, sef, egluro beth ydyw Dwnad, neu Ramadeg. Dwnad, neu Ramadeg, sydd yn dysgu dynion pa fodd i wneud defnydd priodol o eiriau er amlygu y meddwl, yr hyn sydd yn angenrheidiol yn mysg bodau rhesymol, yn enwedig, os dysgwyliant gael cydweithrediad, neu gydsyniad ereill. Y mae hyn yn fuddiol ac yn angenrheidiol yn mhob sefyllfa yn y byd. Pa beth sydd yn darostwng mwy ar ddyn, ac yn ei osod mor agos i ddosbarth yr anifail na'i fod yn methu gwneud ei feddyliau yn ddealladwy drwy lafar nac ysgrifen? Gan mai y dosbeirth sydd eisoes yn gallu darllen yr iaith Gymreig a fwriedir eu hanerch yn fwyaf arbenigol, awn heibio i lawer o bethau y treulir cryn lawer o amser i'w hegluro mewn Gramadegau yn gyffredin, a thrown ein sylw at Ramadeg yn ei wahanol ganghenau, neu ranau. Y mae Gramadeg yn cael ei ddosbarthu i bedair rhan, sef, LLYTHYREG, ACENYDDIAETH, GEIRYDDIAETH, a CHYSTRAWIAETH.

## LLYTHYREG.

WRTH Lythyreg y mae i ni ddeall y llythyrenau a'u defnydd, sef, llun, trefn, a gallu y llythyren, yn nghyd â'r modd i osod y llythyrenau wrth eu gilydd i wneud

sillau, a'r modd i osod sillau wrth eu gilydd i wneud geiriau. Y mae yn y Gymraeg saith ar ugain o lythyrenau, sef, saith o lafariaid, ac ugain o gydseiniaid. Y llafariaid ydynt a, e, i, o, u, w, y; a'r cydseiniaid ydynt b, c, ch, d, dd, f, ff, g, ng, h, l, ll, m, n, p, ph, r, s, t, th. Gelwir y rhai hyn yn gydseiniaid, am nad ellir gwneud un defnydd o honynt wrthynt eu hunain, heb help y llafariaid.

Y llythyrenau gyda eu gilydd sy fel y canlyn:—

| Llythyrenau penigol. | | Y mân lythyrenau. | |
|---|---|---|---|
| A | LL | a | ll |
| B | M | b | m |
| C | N | c | n |
| CH | O | ch | o |
| D | P | d | p |
| DD | PH | dd | ph |
| E | R | e | r |
| F | S | f | s |
| FF | T | ff | t |
| G | TH | g | th |
| NG | U | ng | u |
| H | W | h | w |
| I | Y | i | y |
| L | | l | |

### Y LLAFARIAID.

*A*, yw y llafariad gyntaf, ac y mae tri threigliad yn perthyn iddi; sef, i *e;* megis, aberth, ebyrth; i *y;* megis, atal, etyl; ac i *ei;* megis, carw, ceirw.

*E*, a dreiglir i *i;* megis, maen, main; i *u;* megis, gwnaeth, gwneuthur; ac i *y*; megis, cref, cryf.

*I*, ni pherthyn i hon unrhyw newidiad.

*O*, treiglir *o* i *w*; megis, bront, brwnt; ac i *y*; megis, porth, pyrth.

*U*, y mae *u* yn annewidiol.

*W*, treiglir *w* i *y*; megis, bwrdd, byrddau; ac i *o*; megis, crwn, cron.

*Y*, nid oes unrhyw dreigliad i *y*, ond rhoddir iddi sain *u* mewn geiriau lluaws-sill; megis, derbyn, dilys, dilyth, y rhai a dreiglir i derb*y*niad, dil*y*siant, dil*y*thion. Dyma yr unig lythyren yn yr iaith Gymreig nad ydyw yn dwyn yr un sain yn mhob man; ond ni roddir un rheswm dros ddodi dwy sain i hon mwy nag i ryw lythyren arall. Paham nad ellir ysgrifenu y geiriau derbyn, dilys, dilyth, yn derb*u*n, dil*u*s, dil*u*th, pan na ddygont ond sain *u*, a rhoddi sain *y* i *y*, pan fyddo yn dwyn y sain hono? Rhoddir ei sain ei hun i *y* yn y geiriau canlynol a'u cyffelyb; sef, yr, yn, ys, myn, dy, syr, &c.

*U* sydd i fod yn niwedd y geiriau canlynol; sef, cystudd, cysur, golud; oblegid cyst*u*ddiau, cys*u*ron, gol*u*doedd, ydynt wedi ychwanegu at eu terfyniadau.

## Y CYDSEINIAID.

*B*, perthyn i hon ddau dreigliad, sef, i *m* ac *f;* megis, bachgen, fy machgen, dy fachgen.

*C*, a dreiglir i *ch*, *g*, ac *ngh;* megis, cyfaill, ei chyfaill, dy gyfaill, fy nghyfaill.

*D*, a dreiglir i *dd* ac *n;* megis, doniau, ei ddoniau, fy noniau.

*F*, a wasanaetha yn nechreu geiriau yn lle *b* ac *m;* megis, bywyd, ei fywyd, fy mywyd.

*FF*, y mae *ff* yn anghyfnewidiol.

*G*, a dreiglir i *ng;* megis, gwr, fy ngwr; ac a ddileir yn hollol o eiriau ambell waith; megis, grym, fy ngrym, dy rym, ei rym.

*NG*, a arferir ar ol y Rhagenw meddianol *fy*, a'r Arddodyn *yn;* megis, gardd, fy ngardd; Gwynedd, yn Ngwynedd.

*H*, er na addefir hon yn gydsain berffaith, ond yn hytrach yn arwydd ochenaid, eto y mae'n wasanaethgar iawn yn nechreu geiriau ar ol y Rhagenw *ein*, *eu*, ac *ei;* megis, einioes, *ein* heinioes, *ei* heinioes, *eu* heinioes, ac mewn geiriau fel par*h*ad, mwy*h*ad, ac yn mhob gair y byddo eisiau sain chwern ynddo.

*L*, ni arferir *l* yn nechreu un gair Cymreig oddieithr yn lle *ll;* megis, llythyr, dy lythyr, ei lythyr.

*LL*, a dreiglir i *l;* megis, llyfr, dy lyfr, ei lyfr.

*M*, a dreiglir i *f;* megis, myfyrdod, dy fyfyrdod, ei fyfyrdod.

*N*, nid oes unrhyw dreiglad i *n;* ond dileir hi weithiau o *yn* ac *an* er mwyn llithrigrwydd sain yn hytrach nag o gywirdeb; megis, yn y geiriau *y'* Nghymru, *y'* nghyd, *y'* mlaen; ac weithiau arferir *yng* Nghymru, *yng* nghyd, a rhai a ysgrifenant *Yng* Hrist; *ym* mlaen, *ym* mhob, heb un reol na rheswm dros hyny. Yn Nghymru, yn mlaen, yw y ffordd reolaidd; oblegid nid ydyw yn unol âg un o ddeddfau yr iaith i droi *yn* i *ym*, *yng*, nac *y*. Dileir yr *n* hefyd o'r Arddodyn difeddedigol *an*, a hyny gan bleidwyr y cydseiniaid dyblyg; megis, yn y geiriau a*n*nghof, a*n*nghall, ac ysgrifenir hwy anghof, anghall, er mwyn llithrigrwydd sain yn unig; y mae hyn eto yn afreolaidd.

*P*, a dreiglir i *b*, *mh*, ac *ph;* megis, perthynasau, dy berthynasau, fy mherthynasau, ei pherthynasau.

*PH*, a arferir mewn geiriau y byddo *p* yn eu dechreu; megis, pobydd, ei phobydd. Hefyd rhoddir *ph* ac nid *ff* yn mhob gair a dreiglir oddiwrth *p;* megis, traphlith, o *tra plith;* ac nid *trafflith*.

*R*, nid oes unrhyw dreigliad i *r;* ac ni arferir hi ychwaith yn nechreu gair heb *h* i'w chynorthwyo, oddieithr mewn cyfansoddiad; megis,

"Helaethion roddion heb ri
A ranodd ei rieni."

*S*, y mae *s* yn annewidiol.

*T*, a dreiglir i *d*, *nh*, ac *th;* megis, teulu, dy deulu, fy nheulu, ei theulu.

*TH*, ni arferir unrhyw amser yn nechreu gair, oddieithr mewn cyfansoddiad; megis,

"Pan fo Mon a'i *thirionwch*,
O wres fflam yn eirias fflwch,
A'i *thorog* wythi arian,
A'i phlwm a'i dur yn fflam dân."

SILLAU.

Ffurfir sill o un lythyren hyd yn saith; megis, *a*, *da*, *byd*, *gwir*, *brwnt*, *gwrysg*, *gwnaent*; ac nid oes mwy na saith llythyren mewn unrhyw sill Cymreig.

O sillau y ffurfir geiriau o un sill hyd yn naw; megis,

| | |
|---|---|
| Cof | Cof |
| coffad | coff-ad |
| coffadwr | coff-ad-wr |
| coffadwriaeth | coff-ad-wr-iaeth |
| coffadwriaethol | coff-ad-wr-iaeth-ol |
| coffadwriaetholdeb | coff-ad-wr-iaeth-ol-deb |
| coffadwriaetholedig | coff-ad-wr-iaeth-ol-ed-ig |
| coffadwriaetholedigaeth | coff-ad-wr-iaeth-ol-ed-ig-aeth |
| coffadwriaetholedigaethau | coff-ad-wr-iaeth-ol-ed-ig-aeth-au |

Ond nid canmoladwy yw arferu geiriau hwy na phedwar sill, os gellir gwneud hebddynt gyda hawsder.

Nid yn yr un modd y dylid rhanu pob geiriau yn sillau; oblegid dygwydd weithiau fod un lythyren mewn sill; megis, *i* yn y gair clod-for*i*; waith arall dwy; megis, *is* yn y gair *is*-el; waith arall dair neu bedair; megis, *llef*, yn y gair *llef*-ain, a *rhad*, yn y gair *rhad*-lawn. Y modd i ranu gair yn sillau yw chwilio am ei wreiddyn; megis,

| | |
|---|---|
| pur | pur-ed-ig |
| pur-ed | pur-ed-ig-aeth |

a dilyn yr ychwanegiadau a roddir ato; megis uchod.

## ACENYDDIAETH.

Wrth Acenyddiaeth, neu Donyddiaeth, y mae i ni ddeall y modd i roddi y swn priodol i bob llythyren, sill, a gair. Y mae cryn wahaniaeth rhwng Deauwyr a Gogleddwyr yn y mater yma. Yr unig ffordd i gyraedd cywirdeb yw dilyn seiniau priodol llythyrenau yr egwyddor yn y lleoedd y gellir profi y mae yr iaith yn fwyaf dilwgr. Y mae plant yn seinio yn gyffredin megis yr addysgir hwy gan eu rhieni.

## GEIRYDDIAETH.

Wrth Eiryddiaeth y mae i ni ddeall y modd y mae y naill air yn tarddu o'r llall, a pherthynas geiriau â'u gilydd i ffurfio ymadroddion.

## CYSTRAWIAETH.

Wrth Gystrawiaeth y mae i ni ddeall y modd i uno amryw bethau â'u gilydd. Megis y dysgir ni gan Eiryddiaeth y modd i osod llythyrenau wrth eu gilydd i wneud sillau; a'r modd i osod sillau wrth eu gilydd i wneud geiriau; felly yn yr un modd y dysgir ni gan Gystrawiaeth y modd i osod geiriau wrth eu gilydd i wneud brawddegau.

### RHANAU YMADRODD.

Y mae wyth o Ranau Ymadrodd yn yr Iaith Gymreig; sef, Enw, Rhagenw, Berf, Rhagferf, Bannod, Cysylltiad, Arddodiad, a Chyfryngiad.

### ENW.

Arwydda Enw, *enw* a dim yn ychwaneg; megis, Arglwydd, gwr, haul, cydwybod, neu unrhyw beth sy mewn bod a allwn weled, glywed, gyffhwrdd, neu wybod am dano. Y mae pob gair sydd yn sefyll am ddyn neu anifail, neu unrhyw sylwedd, byw neu farw, yn Enw, neu yn Enw Cadarn. Megis, *dyn*, *march*, *coeden*. Yr unig anhawsder i ddeall y mater, yw fod pethau nad allwn weled, glywed, na chyfhwrdd yn cael eu galw yn Enwau. Y mae *cydwybod*, *haelioni*, *gwrolder*, yn Enwau; ond nid allwn deimlo yr un o honynt, eithr y maent oll mewn bod. Y mae *llef*, *gwynt*, *taran* yn Enwau; ond ni welwn yr un o honynt. Y mae *ysbryd*, *tragwyddoldeb* yn Enwau; ond nid allwn eu cyfhwrdd. Y maent oll mewn bod, ac y mae y geiriau sydd yn eu gosod allan yn cael eu galw yn Enwau. Y mae rhai Gramadegwyr wedi bod yn ceisio genym osod *da* yn nglyn â gair er cael allan a fydd ef yn Enw; ond ni etyb y rheol hon y dyben; canys y mae *anwiredd* yn Enw, eithr nid ydyw yn briodol dyweud anwiredd *da*. Y gwirionedd yw nid oes un reol o'r fath a wna y tro. Rhaid i ddyn ddodi ei feddwl ei hun ar waith yn y mater yma yn hollol, er cael allan pa beth yw Enw. Yr unig gyfarwyddyd a ellir roi yw i'r myfyriwr ystyried beth yw bodolaeth,

yna gwel yn union nad oes fodolaeth yn perthyn i'r geiriau *glân*, *ond*, *dros;* hyny ydyw, nad ydynt yn dangos un meddwl ar eu penau eu hunain; ond y mae y geiriau *cymwynasgarwch*, *serch*, *iaith*, yn arwyddo pethau sy mewn bod.

### RHYWIAU NEU FATHAU O ENW.

Y mae dau fath o Enw; sef, Enw priodol, ac Enw cyffredinol. Enw priodol yw Enw a berthyn i un gwrthddrych yn neillduol; megis, *Tomos*, *Bangor*, *Prydain*, *Cynwy*, *Cader Idris.*

Enw cyffredin yw Enw sydd yn gweddu i lawer o wrthddrychau; megis, *Cristion*, *tir*, *dafad*. Y mae y gwahaniaeth rhwng y ddau fath o Enwau yn eglur; oblegid nid *Tomos* yw Enw pob dyn; nid *Bangor* yw Enw pob dinas; nid *Prydain* yw enw pob teyrnas; nid *Cynwy* yw enw pob afon; ac nid *Cader Idris* yw enw pob mynydd; ond gellir arfer yr enw *Cristion* am bob Cristion, bydded wyn neu ddu, bydded hên neu ieuanc; *tir* am bob tir, bydded ffrwythlawn neu anffrwythlawn, uchel neu isel; a *dafad* am bob dafad, bydded fach neu fawr, wyllt neu ddof.

### CENEDL ENW.

Y mae tair cenedl yn perthyn i Enw, sef, gwrryw, benyw, a chyffredin. Gwrryw, megis, *dyn*; benyw, megis, *dynes*; a chyffredin, megis, *cleddyf*. Y mae tair ffordd i wahaniaethu Cenedl Enw; sef, drwy arfer amryw eiriau, megis gwr, *gwraig*; cefnder, *cyfnither*; drwy ddodi yr enw a'r rhyw gyda eu gilydd, megis, *troellwr*, *troellwraig*; *pobwr*, *pobwraig*; a thrwy ychwanegu *es* at yr Enw gwrrywaidd, megis, paun, paun*es*; gwnïadydd, gwnïadydd*es*.

Ni fedd y Gymraeg *it*, canolryw, fel sydd yn yr iaith Saisonig; ac er ein bod yn ceisio dynwared y Saeson drwy son am genedl gyffredin, eto, y mae ein pethau difywyd oll yn cael eu golygu yn perthyn naill ai i'r genedl wrrywaidd, neu i'r genedl fenywaidd. Gwyddir

pa un ai gwrryw ai benyw i olygu pethau difywyd, weithiau, wrth y terfyniadau canlynol; sef, *eb*, *rwydd*, *ydd*; y rhai yn *ffrwythlondeb*, *boddlonrwydd*, *defnydd*, a olygir yn wrrywaidd; ac wrth *ad*, *aeth*, *fa*; y rhai yn *adeilad*, *dysgeidiaeth*, a *golygfa*, a ystyrir yn fenywaidd, er nad ydynt yn perthyn i'r naill na'r llall o'r rhywiau.

Myn rhai fod pum cenedl yn bod, drwy ychwanegu y genedl a elwir deuryw ac anwybod at wrryw, benyw, a chanolryw; ac fod yn perthyn i'r gyffredin yr enwau *dyn*, *plentyn*, *baban*, *haul*, *lloer*, *seren*, *mynydd*, *dwfr*, *gwynt*; ac i'r ddeuryw enwau anifeiliaid, anifeiliaid rheibus, pysgod, ac adar, megis, *ysgyfarnog*, *cath*, *brithyll*, *colomen*; nid oes neb a ŵyr i ba ryw y perthyna yr enwau uchod, heb gysylltu ansoddair gyda phob un o honynt, megis, ysgyfarnog *wrryw*; cath *fenyw*; brithyll *gwrryw*; colomen *fenyw*. Dywedir mai i'r genedl anwybod y perthyna *iechydwriaeth*, *pechod*, a *maddeuant*.

### RHIF ENW.

Y mae dau rif yn perthyn i Enw; sef, unig a lluosog. Unig, megis, *dyn*; lluosog, megis, *dynion*. Y mae hefyd Enw unig ar ei ben ei hun, ac Enw unig cynulledig. Enw unig yw pan na byddo ond un bod neu beth yn cael ei ddynodi, megis, *gwr*; Enw unig cynulledig yw yr hwn a ddynoda fwy nag un, megis, *llu*, *torf*, a'r cyffelyb. Y mae hefyd Enw cynulledig unig, ac Enw cynulledig lluosog. Enw cynulledig unig, megis *llu*, *torf*; Enw cynulledig lluosog, megis, llu*oedd*, torf*oedd*.

### Y MODD I LUOSOGI ENW.

Un ffordd i droi enwau unigol yn lluosog yw drwy newid eu llafariaid; megis, *a*berth, *e*b*y*rth; b*a*rdd, b*ei*rdd; cl*o*ch, cl*y*ch; d*w*fr, d*ei*fr; ff*o*rdd, ff*y*rdd; g*o*rdd, g*y*rdd; g*w*r, gw*y*r. Ffordd arall i wneud hyny yw ychwanegu at derfyniadau yr enwau; megis, aber, aber*oedd*; brodor, brodor*ion*; dinas, dinas*oedd*; ffos, ff*os*ydd; geneth, geneth*od*; llawnder, llawnder*au*;

hwyl, hwyl*iau*; elusen, elusen*i*; celan, celan*edd*; ofydd, ofydd*iaid*; gof, gof*aint*; goreu, goreu*adon*; pryf, pry*fed*.

Ychwanegir at derfyniadau Enwau yn y rhif luosog i'w gwneud yn unig; megis, plant, plent*yn*; morgrug, morgrug*yn*; ser, ser*en*; mellt, mellt*en*.

Y mae terfyniadau Enwau Cadarn yn lluosog yn y Gymraeg, ac y mae hyny yn fanteisiol dros ben er amrywio y sain, ac yn enwedig i'r beirdd.

Y mae rhai Enwau na arferir hwy yn y rhif luosog; megis, *plwm*, *pridd*, *mwg*, *mwlwg*, *mawl*; ac ereill na arferir yn y rhif unig; megis, *ysgyfaint*, *bara*.

Y mae modd bychanigo Enwau unig a lluosog drwy y terfyniadau canlynol: *an*, *en*, *yn*, *ig*, megis, dyn, dyn*an*; draen, draen*en*; gwas, gwes*yn*; oen, oen*ig*; a thrwy *os*, *ach*, ac *og*, megis, tai, tei*os*; esgyrn, esgyrn*ach*; pwt, pwt*og*.

### ACHOS ENW.

Y mae yn beth pur anhawdd cyfleu meddylddrych eglur i ddysgwr ieuanc yn nghylch Achos Enw. Dyma'r achos, y mae yn debyg, fod rhai o'n Gramadegwyr heb son am dano yn eu Gramadegau, ac ereill am ei hwtio o'n terfynau. Ystyr wreiddiol Achos *(Case)* oedd yr amrywiaethau gwahanol a berthynai i Enwau i osod allan y berthynas oedd rhwng un Enw a'r llall, neu rhwng Enw a Berf neu Arddodiad. Y mae yn tarddu meddir, o'r gair Lladin *Casus*, cwympiad; oblegid fod y Gramadegwyr Lladinaidd, y rhai a ddodent i'w Henwau chwech o Achosion *(Cases)*, yn gosod allan y pump diweddaf fel yn cwympo o'r cyntaf; sef, yr Enwedigaethol. Ni fedd y Gymraeg, ebai Gambold, unrhyw Achosion fel y Lladin a'r Groeg, ac o ganlyniad ni fedd Achos enwedigol gyda therfyniadau gwahanol; nac fel y Saesoneg, megis yn *man's nature*. Dywedir fod rhai Gramadegwyr yn galw yr Achos Meddianol yn Enwedigol; a'r Achos Gwrthddrychol yn Achos Cyhuddol; ac fod yn haws i bersonau nad

ydynt wedi dysgu y Lladin ddeall y *Meddianol* a'r *Gwrthddrychol.*

Sonia Bardd Nantglyn am chwech Achos Enw, sef, Enwedigaethol, Meddianol, Rhoddiadol, Cyhuddol, Galwadigol a Gwrthodol; ond y cwbl a ddywed y Doethawr Puw gyda golwg ar y mater yw, "Fod yr Enwau heb fyned dan unrhyw gyfnewidiadau neu dröadau i amlygu y fath berthynasau; gan hyny fod yr Iaith Gymreig yn ddyeithr i'r treigliadau sy mewn ieithoedd ereill dan yr enw o Achosion (*cases*).

Eglura un awdwr yr Achosion fel y canlyn:—"Y mae tri Achos; yr Enwedigaethol, y Meddianol, a'r Gwrthddrychol. Y mae Enw yn yr Enwedigaethol pan fyddo yn dynodi person, neu beth, a wnelo rywbeth, neu sydd yn rhywbeth; megis, '*y mae Richard yn taraw;*' neu '*y mae Richard yn dda.*'

"Enw yn yr Achos Meddianol fydd pan enwo person neu beth fyddo yn meddianu rhyw berson neu beth arall, neu pan fyddo un o'r personau neu y pethau yn perthyn i'r llall; megis '*het Richard:*' '*pen y mynydd;*' '*llynges y genedl.*' Yma y mae *Richard*, *mynydd*, a'r *genedl* yn yr Achos Meddianol; oblegid eu bod yn dynodi personau neu bethau sydd yn meddianu personau neu bethau ereill; neu fod ganddynt bersonau neu bethau ereill yn perthynu iddynt."

Dywed yr un gwr, "Y mae Enw yn yr Achos Gwrthddrychol pan fyddo y person, neu y peth a enwo neu a ddywedo yn *wrthddrych*, neu yn *ddyben*, rhyw weithred neu rhyw symudiad, neu o ryw fath neu gilydd; megis, '*Y mae Richard yn taraw Pedr.*' '*Rhoes Richard ergyd i Pedr.*' '*Aeth Richard ar ol Pedr.*' '*Y mae Richard yn casâu Pedr.*' '*Y mae ar Richard eisiau arfau.*' '*Y mae Richard yn ymgais am enwogrwydd.*' '*Y mae anwiredd yn arwain i ddrygioni.*' '*Y mae gormes yn cynyrchu gwrthwynebiad.*' Gwelwch yma mai yr Enwau yn yr Achos Gwrthddrychol yw y gwrthddrych, y dyben, neu effaith rhywbeth a wnaed neu a deimlwyd gan ryw berson neu beth, a'r person neu y peth hwnw yn yr Achos Enwedigaethol."

## RHAGENW.

Y mae Rhagenw yn cael ei arfer *rhag* enwi yr un gair neu enw lawer gwaith mewn cyfansoddiad; megis, *Mi*, *Ti*, *Ef*, *Hi*, *Pwy*. Y mae arferiad Rhagenwau yn gwneud ymadrodd yn fwy cryno, ac yn ystwythach nâ phe yr arferid Enwau. Gweinydda yr engraff ganlynol i egluro y peth:—

"Aeth dyn yn ddiweddar at John Williams, (ei feistr tir,) a dywedodd wrtho *ef*, os na wnai *efe* ostwng yn y rhent, y rhoddid *ei* dyddyn i fynu iddo *ef*."

Pe na arferasid y Rhagenwau yn y frawddeg hon, buasai raid iddi fod fel hyn:—

"Aeth dyn yn ddiweddar at *John Williams*, (ei feistr tir), a dywedodd wrth *John Williams*, os na wnai *John Williams* ostwng yn y rhent, y rhoddid tyddyn *John Williams* i fynu i *John Williams*."

Y mae dau fath o Ragenw, sef, Rhagenw Cadarn, a Rhagenw Gwan. Perthyna i Ragenw Cadarn Rif, Person, a Chenedl. Y mae dau rif yn bod, sef unig a lluosog; a thri pherson yn mhob rhif. Rhif unig *mi*; lluosog *chwi*. Tri pherson unig, *mi*, *ti*, *ef*; tri pherson lluosog, *ni*, *chwi*, *hwynt*.

| *Unigol* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| mi, fi, i | ni | yntau | hwyntau |
| myfi | nyni | fe, hi | hwythau |
| minau | ninau | hi | hwy |
| myfinau | nyninau | hyhi | hwynt |
| ti | chwi | hithau | hwythau |
| tydi | chychwi | hyhithau | hwynthwy |
| tithau | chwithau | e | nhw |
| tydithau | chychwithau | fo | nwythau |
| ef | hwynt | o | nhwy |
| efe | hwynthwy | efo | ydd |

Y mae amryw fath o Ragenwau Gweiniaid; megis, y Meddianol, Dangosiadol, Perthynol ac Annherfynol. Y Rhagenwau Meddianol ydynt,—

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| my, fy, ym, my | ein, ny |
| mau, eiddof | einom, einym, eiddom |
| dy, yth, eith, tau | eich, ych, eiddoch |
| eiddot, eiddyt | eiddych |
| ei, e, i, eiddo, eiddi | eu, u, eiddynt |

Gellir ychwanegu *hwn* a *hunan* yn y rhif unigol; a *hunain* yn y rhif luosog at y Rhagenwau Meddianol.

Y Rhagenwau Dangosiadol ydynt,—

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| hwn, hon, hyn | y rhai hyn, y rhai yma |
| hwnyma, honyma, hynyma | y rhai hynyma |
| hwna, hona, hyna | y rhai hyna, yna, onco |
| hwnyna, honyna, hynyna | y rhai hynyna |
| hwnacw, honacw, hynacw | y rhai hynacw, acw, oco |
| hwnw, hono, hyny | y rhai hyny |

Y Rhagenwau Perthynol yw y rhai a gyfeiriant, neu a berthynant i ryw air blaenorol neu ymadrodd. Dodir y Bannod *y* i ragflaenu y rhai hyn; megis,—

Yr hwn, yr hon, yr hyn, y rhai, y neb, yr un, y naill, y lleill, y llall, y sawl, y rhai, y rhai hyn, y rhai hyny.

Rhagenwau Ymofynol sy fel y canlyn,—

Pa? pwy? pa un? pa rai? pa beth? beth? mae*?

Rhagenwau Annherfynol ydynt fel y canlyn,—

Ambell, rhai, rhyw, arall, llall, naill, pob un, neb, nebun, rhywun, ereill, oll, pawb, lleill, pobrhai, nebrhai, rhywrai.

ENW GWAN.

Ystyr y gair a arferir am Enw Gwan yn iaith y Saeson, sef, *Adjective*, yw rhywbeth wedi ei ychwanegu at beth arall. Fe'i gelwir yn Enw Gwan yn Gymraeg am nad ellir gwneud synwyr o hono ar ei ben ei hun; ac nad ellir gwneud un defnydd o hono ond mewn cysylltiad â rhyw air arall. Pe dywedid *dyn*, *anifail*, *craig*, meddylid am ddyn, anifail, neu graig; ond pe dywedid *synhwyrol*, *grymus*, *caled*, ni throsglwyddid meddylddrych o fath yn y byd drwy y geiriau hyny; ond pe cysylltid yr Enwau Gwan wrth yr Enwau Cadarn uchod, byddai synwyr cyflawn ynddynt; megis, dyn *synhwyrol:* anifail *grymus:* craig *galed.*

* Bydd yr annysgedig yn cael ei arwain i ddyryswch mawr wrth ddarllen adnodau tebyg i'r un a ganlyn, "Y nef yw fy ngorseddfainc, a'r ddaiar yw lleithig fy nhraed: mae'r ty a adeiladwch i mi? ac mae'r fan y gorphwysaf?" (Esaiah 66. 1,) drwy beidio sylwi mai mewn Modd Gofynol y mae arfer y *mae* yn yr adnod, fel pe dywedid, "Pa le y mae y ty a adeiladwch i mi?"

## RHIF ENW GWAN.

Y mae dau Rif yn perthyn i Enw Gwan, sef, rhif unig a rhif luosog; a threiglir Enw Gwan o'r rhif unig i'r rhif luosog mewn dwy ffordd; sef, Yn gyntaf drwy newid y llafariaid, megis, yn marw, m*ei*rw. Yn ail drwy ychwanegu *on* neu *ion* at y terfyniad yn yr Enw Gwan unigol, megis, garw, geirw*on*: llym, llym*ion*.

Rhydd yr engraffau canlynol gyfarwyddyd gyda golwg ar hyn:—

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| bychan | bych*a*in |
| cam | ceim*ion* |
| goreu | goreu*on* |
| dall | deill*iaid* |

Y mae rhai Enwau Gwan na arferir yn y rhif luosog, megis, *chweg*, *glân*. Ni luosogir ychwaith rifedi trefniadol, megis, *un*, *dau*, *tri*; a gellir dywedyd yn y Gymraeg *tri gwr*, neu *y tri wyr*.

Nid ydyw yn hanfodol i Enw Gwan gyduno mewn rhif â'r Enw Cadarn a fyddo yn ei flaenori; canys nid oes fodd lluosogi *ansawdd* o dan un amgylchiad. Meddylier am y gair *caled*, fe'i harferir i ddangos ansawdd gwrthddrych; sef, naill ai dyn neu anifail; haiarn neu bren, neu rhyw fetel; megis, dyn *caled*; anifail *caled*; haiarn *caled*; pren *caled*; dyna *ansawdd* neu natur y dyn, yr anifail, yr haiarn, neu y pren, sef, *caled*. Lluosoger y dyn i dyn*ion*; yr anifail i anifeil*iaid*; yr haiarn i h*eiy*rn; a'r pren i pren*au*, nid ydyw yn canlyn fod *ansawdd*, neu natur y gwrthddrychau yn lluosogi. Un yw *natur* y dyn a *natur* y dynion; *natur* yr anifail a *natur* yr anifeiliaid; *natur* yr haiarn a *natur* yr heiyrn; *natur* y pren a *natur* y prenau; sef, *caled*; gan hyny ni fyddai dyweud *caledion* yn gwella dim ar y peth. Dywed y Doethawr Puw, "Nid yw Enw Gwan, neu ansawdd damweiniawl, yn gofyn ei fod yn cydunaw mewn rhif ag Enw Cadarn y cydweddo ag efo; canys arferir yr unig a'r lluosog wrth amcan a chysondeb oslef, o barth yr ansoddion damweiniawl."

Y mae dodi ansoddeiriau yn y rhif luosog wedi bod yn bur ddefnyddiol a manteisiawl i'r beirdd; ac y mae yn taraw yn dda er cael amrywiaeth yn y sain; ond nid ellir edrych ar Enw Gwan yn y rhif unigol, mewn cysylltiad âg Enw Cadarn yn y rhif luosog, fel trosedd.

### CENEDL ENW GWAN.

Y mae tair cenedl yn perthyn i Enw Gwan; sef, gwrrywaidd, benywaidd, a chyffredin. Y genedl wrrywaidd a gymwysir at enw gwrryw; megis, dyn *call.* Y genedl fenywaidd at enw benywaidd; megis, dynes *ddeallus*; a gair yn y genedl gyffredin yw yr Enw Gwan a weinydda i ddyn neu ddynes heb un gwahaniaeth; megis, dyn *sobr*; dynes *sobr*. Deillia'r genedl fenywaidd o'r wrrywaidd mewn dwy ffordd; sef, drwy newid y gydsain, megis, gwr doeth, gwraig *dd*oeth; a thrwy newid y llafariad; megis, brych, br*e*ch; crwn, cr*o*n; dau, d*wy*. Nid ydyw Enwau Gwan yn cyfnewid yn y genedl gyffredin; megis y gwelir wrth y daflen ganlynol:—

| *Gwrryw.* | *Benyw.* | *Cyffredin.* |
|---|---|---|
| gwlyb | gwleb | hawddgar |
| llym | ll*e*m | ffrochwyllt |
| llyfn | ll*e*fn | iesin |
| sych | s*e*ch | hagr |
| tyn | t*e*n | egr |

### GRADDAU ENW GWAN.

Y mae graddau cydmarol yn perthyn i Enw Gwan, yr hyn ni pherthyn i Enw, neu Enw Cadarn; megis, glân, glân*ach*, glân*af*. Gelwir y graddau hyn Gwastadradd, Canolradd, ac Uchelradd.

Gwastadradd yw y radd gyntaf a berthyn i Enw Gwan er dangos ansawdd yr Enw yn ei sefyllfa gyntefig; megis, *poeth*, *coch*, *crwn*, *hyll*, *hardd*.

Y mae y Ganolradd radd yn uwch, ac yn ychwanegu at yr Enw Gwan naill ai ansawdd uwch neu îs, gwell neu waeth; megis, poeth*ach*, coch*ach*, cryn*ach*, hyll*ach*, hardd*ach*.

Codir Enw Gwan i'r radd uchaf drwy yr Uchelradd; megis, poeth*af*, coch*af*, cryn*af*, hyll*af*, hardd*af*.

Gelwir yr Enwau Gwan a barhant yn y sefyllfa wreiddiol o ran eu llythyrenau, ac a fyddont yn diweddu yn y ganolradd mewn *ach*, yn rhai sydd yn cydmaru yn rheolaidd; megis y gwelir wrth yr engraffau canlynol:—

| *Gwastadradd.* | *Canolradd.* | *Uchelradd.* |
|---|---|---|
| annoeth | annoeth*ach* | annoeth*af* |
| brith | brith*ach* | brith*af* |
| cadarn | cadarn*ach* | cadarn*af* |
| hawddgar | hawddgar*ach* | hawddgar*af* |

Cydmarir *da*, *drwg*, *hir*, *mawr*, *bach*, *hên*, yn wahanol; megis,

da, mor dda, gwell, goreu
drwg, mor ddrwg, gwaeth, gwaethaf
hir, mor hir, hwy, hwyaf
mawr, mor fawr, mwy, mwyaf
bach, mor fach, llai, lleiaf
hên, mor hên, hŷn, hynaf

Arferir Goreiriau i osod allan gydmariaid; megis, *cy*, *cyf*, *can*, *go*, *mor*, *lled*, *tra*; megis, *cy*gystal, *cyf*urdd, *can* wired, *go* esmwyth, *mor* wych, *lled* wych, *tra* gwych.

Nid afreolaidd fyddai ysgrifenu da, dä*ed*, dä*af*; drwg, dry*ced*, dry*caf*; mawr, mawr*ed*, mawr*af*.

Y mae amryw Enwau Gwan nad oes cydmaru arnynt, megis, annherfynol, tragwyddol.

Tardda rhai Enwau Gwan o Enwau Cadarn, ac y mae terfyniadau Enwau Gwan yn lluosog; y rhai mwyaf cyffredin ydynt *aid*, *aidd*, *iog*, *fawr*, *awl*, neu *ol*, *ig*, *gar*, *lawn*, *lyd*, ac *us*.

| | | | |
|---|---|---|---|
| aid | hon*aid* | ol | dyn*ol* |
| aidd | merch*aidd* | ig | llygred*ig* |
| edig | pasg*edig* | gar | hawdd*gar* |
| iog | lledrith*iog* | lawn | cyfreith*lawn* |
| og | croth*og* | lyd | cybydd*lyd* |
| fawr | dir*fawr* | us | helbul*us* |
| awl | dyn*awl* | | |

Ychwanegir math o derfyniad dyblyg at Enwau Cadarn i'w gwneud yn Enwau Gwan weithiau; megis,

*ol-aidd*, yn dynolaidd; *eidd-iawl*, yn santeiddiawl; *us-aidd*, yn trefnusaidd, eithr nid ydyw y dull yma yn ganmoladwy; oblegid y mae yn tueddu yn fynych i wanychu y gair, yn hytrach na'i gadarnhau.

## BERF.

Nid ydyw y gair Berf yn meddwl dim yn ychwaneg na *gair* yn wreiddiol; a dyna yr achos, y mae yn debyg, y gelwir y Ferf, gan rai Gramadegwyr Cymreig, yn Brif-air. Y mae Berf yn amlygu holl weithrediadau, symudiadau, a goddefiadau pob creadur a phob peth byw a marw; a chyflwr a dull bodolaeth pob peth drwy yr holl fyd. Er engraff, y mae *llefaru*, *brefu*, *cynyddu*, *fferu*, *trengu*, oll yn Ferfau. Y mae *ystyried*, *myfyrio*, *serchu*, *ffieiddio*, oll yn Ferfau, er nad ydyw y gweithrediad i'w weled i lygad noeth; oblegid eu bod yn gosod allan weithrediadau perthynol i'r meddwl neu i'r enaid. Y mae *eistedd*, *sefyll*, *gorphwys*, *cysgu*, hefyd yn Ferfau. Ystyrir Berfau o dri math; sef, gweithredol, goddefol, a chanolrywiol. Berf weithredol sydd yn amlygu gweithred a gyflawnir gan un; megis, "Duw a *holltodd* y môr," y Ferf yw *holltodd*. Berf oddefol yw yr hon a ddengys weithred a dderbynir, neu a oddefir oddiar law un arall, megis, "Cafodd y môr ei *hollti*." Ystyrir Berf yn ganolrywiol pan amlygo gyflwr, neu fodolaeth unrhyw wrthddrych, person, neu beth; megis, "*Y mae* yr haul tan ei gaerau."

Y mae pedwar peth yn perthyn i Ferf; sef, Person, Rhif, Modd, ac Amser.

## PERSONAU.

Y mae tri Pherson yn perthyn i Ferf; sef, y Cyntaf, yr Ail, a'r Trydydd; megis, *mi*, *ti*, *ef*, yn y rhif unigol; a *ni*, *chwi*, *hwynt*, yn y rhif luosog.

## RHIF.

Dau Rif a berthyn i Ferf, sef, unigol a lluosog.

### MODDAU.

Perthyna i Ferf chwech o Foddau; sef,

Modd Mynegol, drwy yr hwn y mynegir unrhyw beth; megis, "Y mae'r môr a'r tonau yn rhuo." "Y mae yr haul yn tywynu."

Modd Gorchymynol; megis, "Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant." "Nac ymddielwch."

Modd Galluogol; megis, "Medri weithio." "Gelli gychwyn." "Dylit aros."

Modd Dymudiadol; megis, "O! na wyddwn pa le y cawn ef."

Modd Amodol; megis, "Os gorpheni dy waith, derbyni dy gyflog."

Modd Annherfynol, a arwydda beth mewn dull annherfynol, heb unrhyw awdurdod arno gan Rif na Pherson; megis, caru, canu, gweithio, myned.

### AMSERAU.

Y mae yn perthyn i Ferf dri Amser; sef, Presenol, Gorphenol, a Dyfodol; ond dywed rhai, os sylwir yn fanylach, y gellir ychwanegu tri Amser arall; sef, Anorphenol, Tra-gorphenol, ac Ail-ddyfodol.

Amser Presenol a ddengys yr hyn a wneir yn bresenol, neu yr amser y crybwyllir y peth; megis, "gweithiwyf," neu, "yr wyf yn gweithio."

Amser Gorphenol, sydd yn dangos yr hyn a wnaed mewn amser a aeth heibio; megis, "gweithiais," "rhodiais."

Amser Dyfodol a ddengys yr hyn a wneir rhagllaw; megis, "gweithiaf," "rhodiaf."

Amser Anorphenol sydd yn gosod allan weithred mewn amser nad aeth heibio yn gwbl, gan ddangos fod rhywbeth mewn llaw ar yr un pryd heb ei orphen ryw amser penodol a aeth heibio; megis, "Mi a'i parchwn ef," "mi a'i gwasanaethwn ef."

Amser Tra-gorphenol sydd yn darlunio gweithred wedi ei chyflawni yr amser a aeth heibio, ac ar yr un pryd

yn blaenori rhyw amser arall a benodir yn y frawddeg; megis, "Darllenaswn y llyfr cyn ei anfon adref."

Amser Ail-ddyfodol sydd yn mynegu y cyflawnir gweithred yn hollol erbyn neu cyn y dygwyddo gweithred ddyfodol arall; megis, "gweithiaf," "gweithier." Myn rhai nad ydyw yn briodol son ond am dri Amser; fod pob Amserau yn y tri hyn.

### RHANGYMERIAD.

Y mae Rhangymeriad yn cyfranogi o anian Berf ac Ansoddair, neu Enw Gwan, ac fe'i gelwir yn Rhangymeriad o herwydd hyny. Defnyddir ef weithiau i ddangos ansawdd Enw Cadarn; y pryd hwnw y mae yn sefyll fel yn lle Enw Gwan; megis, "Daiar grëedig." A dengys weithiau orchwyl rhyw weithredydd, megis "Crëedig gan Dduw;" a'r pryd hwnw y mae yn meddu anian Berf.

Dichon y rhydd yr engraffau canlynol gymorth i wahaniaethu Rhangymeriad oddiwrth Ferf, ac Enw Gwan; megis,

Gwybod—Berf.
Gwybodol—Enw Gwan.
Yn gwybod
Wedi gwybod
Gan wybod } Rhangymeriad.
Ar fedr gwybod
Gwybodedig

### TREIGLIAD BERF.

Treigliad Berf yw ei newidiad, neu ei threfniad i'w hamryw Rifau, Personau, Moddau, ac Amserau.

Dylid cofio fod rhai Berfau gwreiddiol, y rhai ydynt sail yr holl Ferfau ereill; megis, *au*, *addu*, *athu*, *aethu*, *elu*, *myned—bod*, *bu*, *bi*, *bydd—yw*, *ydyw*, *ydi*, *oes—oedd*, *ydoedd—sy*, *sydd—mae*, *ys*, *ydys*.

Y mae Berfau ereill, a elwir yn Ferfau cyfansoddedig; megis, *daeth*, o *aeth* , *del*, o *el* , *adnabod*, *canfod*, *cydfod*, *darfod*, *gorfod*, *gwybod*, *hanfod* o *bod*.

Y mae Berfau ereill a elwir yn Ferfau cynorthwyol: megis, *dawed*, *gwneud*, *gallu*, *cael*, *caffael*, *dyfod*.

Treigliad y Ferf reolaidd *Parchu* drwy yr amryw Rifau, Personau, Moddau, ac Amserau, yn Weithredol a Goddefol.

## MODD MYNEGOL.

### *Amser Presenol.*

| Gweithredol. | | Goddefol. | |
|---|---|---|---|
| *Unigol.* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
| 1. Parchwyf* | 1. Parchym | Yr ydys yn 1. Fy mharchu | 1. Ein parchu |
| 2. Parchwyt | 2. Parchych | 2. Dy barchu | 2. Eich parchu |
| 3. Parchyw | 3. Parchynt | 3. Ei barchu | 3. Eu parchu |

### *Amser Gorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1. Perchais | 1. Parchasom | 1. Parchwyd fi | 1. Parchwyd ni |
| 2. Perchaist | 2. Parchasoch | 2. Parchwyd di | 2. Parchwyd chwi |
| 3. Parchodd | 3. Parchasant | 3. Parchwyd ef | 3. Parchwyd hwynt |

### *Amser Dyfodol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1. Parchaf | 1. Parchwn | 1. Perchir fi | 1. Perchir ni |
| 2. Perchi | 2. Parchwch | 2. Perchir di | 2. Perchir chwi |
| 3. Parcha | 3. Parchant | 3. Perchir ef | 3. Perchir hwynt |

### *Amser Anorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1. Parchwn | 1. Parchem | 1. Parchid fi | 1. Parchid ni |
| 2. Parchit | 2. Parchech | 2. Parchid di | 2. Parchid chwi |
| 3. Parchai | 3. Parchent | 3. Parchid ef | 3. Parchid hwynt |

### *Amser Tragorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1. Parchaswn | 1. Parchasem | 1. Parchasid fi | 1. Parchasid ni |
| 2. Parchasit | 2. Parchasech | 2. Parchasid di | 2. Parchasid chwi |
| 3. Parchasai | 3. Parchasent | 3. Parchasid ef | 3. Parchasid hwynt |

### *Amser Ail-ddyfodol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1. Parchof | 1. Parchom | 1. Parcher fi | 1 Parcher ni |
| 2. Parchych | 2. Parchoch | 2. Parcher di | 2 Parcher chwi |
| 3. Parcho | 3. Parchont | 3. Parcher ef | 3 Parcher hwynt |

---

* Y dull arall sy mewn arferiad i dreiglo y Ferf hon yn yr Amser Presenol yw,

| Unigol. | Lluosog. |
|---|---|
| 1. Yr wyf yn parchu | 1. Yr ym yn parchu |
| 2. Yr wyt yn parchu | 2. Yr ych yn parchu |
| 3. Y mae yn parchu | 3. Y maent yn parchu |

*Modd Gorchymynol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* | *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1. Parchwyf | 1. Parchwn | 1. Parcher fi | 1. Parcher ni |
| 2. Parcha | 2. Parchwch | 2. Parcher di | 2. Parcher chwi |
| 3. Parched | 3. Parchant | 3. Parcher ef | 3. Parcher hwynt |

Y mae y Modd Galluogol, Dymuniadol, ac Amodol, o'r un dull a'r Modd Mynegol, gyda'r gwahaniaeth eu bod hwy yn cael eu cynorthwyo gan eiriau ereill.

Y Modd Galluogol a gynorthwyir gan *fel y*; megis, "Par imi glywed gorfoledd a llawenydd; fel y llawenycho yr esgyrn a ddrylliaist." A chan *medru* a *gallu*; megis, "Medraf ganu." "Gallaf ganu."

Cynorthwyir y Modd Dymuniadol gan *O na*, ac *O nad*, ac *O nas*.

Cynorthwyir y Modd Amodol gan *o*, *od*, *os*, *pe*, *ped*, *pes*; megis, "Os byw yr ydych yn ol y cnawd meirw fyddwch; eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corff trwy yr ysbryd byw fyddwch."

---

MODD ANNHERFYNOL.

*Amser Presenol.*

| | |
|---|---|
| Parchu | Bod yn barchedig |
| Bod yn parchu | Bod i barchu |
| Bod am barchu | Bod yn barchadwy |

*Amser Gorphenol.*

| | |
|---|---|
| Bod wedi parchu | Bod wedi ei barchu |

*Cyfraniad Presenol.*

| | |
|---|---|
| Parch, yn parchu | Yn barchedig |

*Cyfraniad Gorphenol.*

| | |
|---|---|
| Parchedig, wedi parchu | Parchedig, wedi ei barchu |

Treigliad y Ferf Bod,—

MODD MYNEGOL.

*Amser Presenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1 Wyf, ydwyf | 1 Ym, ydym |
| 2 Wyd, wyt, ydwyt | 2 Ych, ydych |
| 3 Yw, ydyw, mae, oes | 3 Ynt, ydynt, maent |

### *Amser Gorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Bum, buais | 1. Buom, buasom |
| 2. Buost, buaist | 2. Buoch, buasoch |
| 3. Bu, buodd | 3. Buont, buasont |

### *Amser Dyfodol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddaf | 1. Byddwn |
| 2. Byddi | 2. Byddwch |
| 3. Bydd | 3. Byddant |

### *Amser Anorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddwn, oeddwn | 1. Byddem, oeddem |
| 2. Byddit, oeddit | 2. Byddech, oeddech |
| 3. Byddai, oedd | 3. Byddent, oeddent |

### *Amser Tra-gorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Buaswn | 1. Buasem |
| 2. Buasit | 2. Buasech |
| 3. Buasai | 3. Buasent |

### *Amser Ail-ddyfodol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddof | 1. Byddom |
| 2. Byddot | 2. Byddoch |
| 3. Byddo | 3. Byddont |

---

## MODD GORCHYMYNOL.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Byddwyf | 1. Byddwn |
| 2. Bydd | 2. Byddwch |
| 3. Bydded | 3. Byddant |

---

## MODD ANNHERFYNOL.

| *Presenol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Bod | Wedi bod | I fod |

---

## RHANGYMERIADOL.

| *Presenol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Yn bod | Bodedig | Bodadwy |

Y mae treigliad y Ferf BOD yn Anmhersonol fel y canlyn :—

MODD MYNEGOL.

*Amser Presenol.*

| | |
|---|---|
| Bydder | Ydys |

*Amser Gorphenol.*

| | |
|---|---|
| Buwyd | Oeddwyd |

*Amser Dyfodol.*

| | |
|---|---|
| Byddir | Byddis |

*Amser Anorphenol.*

| | |
|---|---|
| Byddid | Oeddid |

*Amser Tra-gorphenol.*

Buasid

Treigliad y Ferf MYNED :—

MODD MYNEGOL.

*Amser Presenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Elwyf | 1. Elym |
| 2. Elwyt | 2. Elych |
| 3. Elyw | 3. Elynt |

*Amser Gorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Aethum | 1. Aethom |
| 2. Aethost | 2. Aethoch |
| 3. Aeth | 3. Aethont |

*Amser Dyfodol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Af | 1. Awn |
| 2. Ai | 2. Ewch |
| 3. A | 3. Ant |

*Amser Anorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Oeddwn | 1. Oeddem |
| 2. Oeddit | 2. Oeddech |
| 3. Oedd | 3. Oeddent |

*Amser Tra-gorphenol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Aethwn | 1. Aethem |
| 2. Aethit | 2. Aethech |
| 3. Aethai | 3. Aethent |

*Amser Ail-ddyfodol.*

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Aof | 1. Aom |
| 2. Aot | 2. Aoch |
| 3. Ao | 3. Aont |

MODD GORCHYMYNOL.

| *Unigol.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| 1. Awyf | 1. Awn |
| 2. A | 2. Ewch |
| 3. Aed | 3. Ant |

MODD ANNHERFYNOL.

| *Presenol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Myned | Wedi myned | I fyned |

*Cyfraniad.*

| | | |
|---|---|---|
| Yn myned | Mynededig | Mynedadwy |

Y mae treigliad y Ferf MYNED yn Anmhersonol fel y canlyn:—

MODD MYNEGOL.

*Amser Presenol.*

Air — Eler

*Amser Gorphenol.*

Awyd — Aethwyd

*Amser Dyfodol.*

Eir — Elir

*Amser Anorphenol.*

Aethid — Aesid — Elid

*Amser Tra-gorphenol.*

Aethesid — Elasid

MODD GORCHYMYNOL.

Aër — Eler

Y mae y Ferf *bod* yn wraidd i lawer o eiriau Cymreig: megis, *gwybod*, *canfod*.

Dylid gofalu am beidio dodi *ff* yn niwedd Berfau: megis, cari*ff*, gweithi*ff*, rhedi*ff*, ysgrifeni*ff*, oblegid nid ydyw *ff* yn diweddu yr un Ferf heblaw caiff.

D.S. Y mae modd newid amser Berf drwy amryw ffyrdd; megis, gall, g*ei*ll; addef, edd*y*f; darllen, derll*y*n; siarad, sier*y*d; cyffroi, cyffr*y*; doda, d*y*d; rhodda, rh*y*dd. A gellir ysgrifenu trodd yn *tröodd* neu *trôdd*; llesâu yn *llesäau* neu *llesâu*; mwynhau, yn *mwynäau*.

## RHAGFERF.

Gelwir Rhagferf yn Orair, ond y mae yn anhawdd cael allan synwyr y naill air mwy na'r llall. Cysylltir Rhagferf âg Enw, ac â Berf, ac yn fynych â Rhagferf arall. Pa fodd bynag, dyben Rhagferf yw *dullio* neu *gymesuro* synwyr Berf, Rhangymeriad, Enw Gwan neu briodoledd; ac fe'i dodir yn gyffredin yn agos at un o'r geiriau a nodwyd; megis, "Rhedasoch *yn dda.*" "Y goedwig *draw.*" "*Heddyw*, os gwrandewch ar ei leferydd ef." Byddai yn ddigon priodol galw Rhagferf yn *Gymesurydd*; oblegid dyna yw ei swydd drwy helaethu neu gwtogi gair; neu drwy ddangos *ffurf*, *teithi*, neu *wedd* na amlygir yn y gair ei hunan.

Y mae y Rhagferfau yn cael eu trefnu fel y canlyn:—

O rif; megis, unwaith, dwywaith, canwaith,* milwaith, yn untro, yn ddeudro, yn ddeublyg.

O drefn; megis, yn gyntaf, yn ail, yn drydydd, yn flaenaf, yn olaf: a gellir dodi *med* yn nglyn â'r rhif, megis, unfed, seithfed, canfed, milfed.

O gyflead; megis, acw, adref, allan,[1] fry, cw, cwdd, hyd,[1] hwnt,[1] iso,[1] isod,[1] llwrw, maes,[1] man, mewn,[1] myn, obry, oco, onco, pell, pellach, rhaco, sylla, traw, tua,[1] tuag,[1] tuedd, ucho,[1] uchod,[1] wela, wnc, yma, yman, yna, yno, ymaith, yngo, yngod. Lledled, nesnes, oddiamgylch,[1] oddiar,[1] obeutu, penben, peutu,[1] ar wahan, hyd at, hyd yma, i faes,[1] i lawr,[1] i fynu, i waered, o faes, o fewn, o ba le, o hyn, pynag, rhywle, rhywfan, yn unlle.

O amser; megis, can, cyd, cyn, cynt, doe, echdoe, eisoes, eisus, eleni, eto, etwa, etwaeth, gwedi, hagen, haiach, heddyw, heno, hwy, hyd, nes, oni, pan, pellach, pryd, pyth, tor, tra, yna, anaml, erioed, oddiyna, peunydd, peunos, rhagllaw, tradwy, tranoeth, trenydd, weithiau, weithian, weithion, y fory, ambell dro, ambell waith, ar dro, ar droion, ar fyr, ar fyrder,

* Enwau Cadarn yw y fath eiriau yn eu hystyr benaf, ond fod swydd Gorair yn cael ei bwrw arnynt.

1 Arferir y rhai hyn yn Arddodiaid hefyd.—Gwel Dr. O. Puw.

er ys enyd, er ys talm, gwedi hyn, hyd hyny, hyd oni, o hyn allan, toc a da, yn awr, yn union.

O gydmariad; megis, ail, amgen, amgenach, chwaithach, da, drwg, felly, goreu, gwaethaf, gwell, llai, lleiaf, llawn, mal, mal hyn, megis, mwy, mwyach, mwyaf, hytrach, yr un fath.

O ddognedd; agos, aml, bach, braidd, cymaint, digon, gormod, llawer, mawr, mwyfwy, peth, prin, bynag, rhy, swm, ychydig, i gyd.

O amheuad; beth, gallai, hwyrach, odid, efallai, ysgatfydd, pa beth, nid hwyrach.

O ddamwain, ond odid.

O sicrwydd; do, ïe, oedd, oes, ys, yw, myn, purion, gwir, diau, diameu, sef, ydyw.

O nacâd; ni, nid, nis, nag, na, dim, naddo, nad oes, nag oes, nag ydyw, nid oedd, nid yw.

O ansawdd; yn dda, yn bur, yn llon, yn wych, yn hardd, yn enwog, yn hawddgar.

O ymofyniad; a? ai? mae? pa? pa le? pa sut? paham? onid? atolwg? ai ïe? ai nid? am ba achaws? am ba beth? a yw? pa yr un? pa beth? pa fodd? pa le?

Dylid deall yn y fan yma fod amryw o'r Rhagferfau a arferir wedi eu cysylltu âg Arddodiaid, megis, *i* fewn, *i* fynu; ac mai Enwau Gwan yw amryw a arferir, wedi dyfod yn Rhagferfau drwy gyfansoddiad; megis, *llon*, *mwyn*, *cas*, *brwnt:* os dywedir, yr oedd efe yn edrych *yn* llon; yn siarad *yn* fwyn; yn ymddwyn *yn* gas; neu, yn gweithredu *yn* frwnt, y mae yr holl Enwau Gwan a arferwyd yn eu cysylltiad â'r Arddodyn *yn* yn dyfod yn Rhagferfau.

Enwau Cadarn yw *heddyw*, *fory*, *doe*, ond deuant yn Rhagferfau mewn cyfansoddiad.

"Wrth fyned heibio, efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth;" yma, *dall* sydd Enw Gwan, o herwydd ei fod yn dangos ansawdd y gair, dyn.

"Irodd y clai ar lygaid y *dall*," sef y dyn dall.

"Pwy a bechodd, ai hwn ai ei rieni, fel y genid ef *yn ddall?*" Yma, *yn ddall* sy Ragferf, o herwydd dengys yn mha agwedd neu gyflwr y ganwyd y dyn. Pa fodd y ganwyd y dyn? Yr ateb yw, *yn ddall.*

### BANNOD.

Yr hyn sy gan Fannod i'w wneud mewn cyfansoddiad yw nodi personau neu bethau neillduol o blith personau neu bethau cyffredin; megis, "dynion;" "*y* dynion;" "awel;" "*yr* awel." Dau Fannod sydd yn y Gymraeg, sef, *y* ac *yr*; arferir *y* o flaen geiriau a ddechreuant gyda chydseiniaid; megis, "y byd," "y ddaiar," "y nefoedd;" ac *yr* o flaen geiriau a ddechreuant gyda llafariaid; megis, "yr awyr," "yr einioes," "yr olwyn." Pe dywedid, "Dyn a aned o wraig sy fyr o ddyddiau a llawn o helbul." Cynwysa y gair *dyn* yma bob dyn; ond pe dywedasid "*y* dyn," megis, "Gwyn ei fyd *y* dyn y mae ei gadernid ynot," buasid yn nodi rhyw ddyn yn neillduol o blith plant dynion.

### CYSYLLTIAD.

Cysylltiad a arferir i gysylltu geiriau ac ymadroddion yn nghyd; geiriau, "mab *a* merch," "aberth *ac* offrwm." Ymadroddion, megis, "Tŷ yr annuwiolion a ddinystrir; *ond* pabell y rhai uniawn a flodeua." Yma, *a*, *ac*, *ond*, ydynt Gysylltiaid.

Y mae dau fath o Gysylltiaid; sef, Cysylltiaid Cydiadol a Chysylltiaid Gwahaniaethol. Cysylltiad Cydiadol a arferir i gydgysylltu geiriau neu ymadroddion yn barhaol; megis, "haul *a* lleuad." "*Canys* y neb a'm caffo I, a gaiff fywyd, *ac* a feddiana ewyllys da gan yr Arglwydd." Yma, *a*, *ac*, *canys*, ydynt Gysylltiaid Cydiadol.

Cysylltiaid Gwahaniaethol a arferir i gylymu ymadroddion gwahanol yn un corff; megis, "Ar y ffordd i fywyd y mae y neb a gadwo addysg; *ond* y neb a wrthodo gerydd sydd yn cyfeiliorni." Yma, *ond* sy Gysylltiad Gwahaniaethol.

Wele yn canlyn rai o'r Cysylltiaid Cydiadol penaf:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| a | drachefn | hefyd | mor | ped | yna |
| ac | eilchwyl | herwydd | o | pes | yno |
| achos | eto | mai | os | pei | ynte |
| am | gan | mal | od | plegid | wrth hyn |
| canys | hagen | megis | pe | wrth | wrth hyny |

Cysylltiaid Gwahaniaethol sy fel y canlyn:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| ai | er hyny | naill | oddigerth | onis | naill |
| chwaith | na | namyn | ond | pa un | no |
| eithr | nac | neu | oni | pa yr un | nog |
| er | nag | oddieithr | onid | cyd byddo | eisoes |

Gellir dodi amryw o'r Cysylltiaid yn nghyd os dewisir; megis,—ac am hyny, a chan hyny, ac eto, ac hefyd, ac fel, ac oddiyno, ac os, ac wrth hyny, ac am hyny os, a phe, gan hyny oni, gan hyny os, canys os, canys pe, eithr oni, eto mai, eto fel, eto megis, eto mor, eto oblegid, eto oni, eto os, eto pa un, mal pe, mal y, megis y, o herwydd mai, ond er hyny, ond eto, ond megis pe, ond oni, ond os, os eto, wrth hyny pe, yna fal, yna megis, yna os, yna pe.

## ARDDODIAD.

Arddodiad a arferir i ddangos y berthynas agos sy rhwng y naill beth a'r llall; megis, "A dygwyddodd wedi *i* ni osod allan, ac ymadael *â* hwynt, ddyfod *o* honom *ag* uniawngyrch *i* Coos, a thranoeth *i* Rhodes: *oddi* yno *i* Patara." Yma, *i*, *â*, *o*, *ag*, *oddi*, ydynt Arddodiaid.

Arferir Arddodiaid weithiau wrthynt eu hunain: sef, *a*, *am*, *ar*, *dros*, *i*, *o*, *wrth*: a chysylltir hwy weithiau ereill wrth Enw Cadarn, wrth Enw Gwan, wrth Rag-enw, wrth Ferf, wrth Ragferf, ac ambell waith wrth Arddodiad arall: megis, *an*-nhymer, *af*-reolus, *am*-dano, *an*-nhymeru, *oddi*-draw, *oddi*-*am*-gylch.

Y mae tri rhyw neu fath o Arddodiaid: sef,

1. Arddodiaid Godidog; megis,

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| a | cyd | heb | maes | rhag | tros |
| ag | cylch | heibio | med | rhwng | trwy |
| ach | cyn | hwnt | mewn | rhy | tu |
| allan | er | hyd | o | tan | uch |
| am | erbyn | i | oc | tra | ucho |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| ar | go | idd | odd | trach | uchod |
| at | gor | is | pen | trag | uwch |
| can | gwedi | iso | parth | traw | wrth |
| cer | gwrth | isod | plegid | traws | yn |

2. Arddodiaid Cyfansawdd; megis,

| | | | |
|---|---|---|---|
| amgylch | gyferbyn | oddiarnodd | rhagwyneb |
| erys | heblaw | oddifewn | tanodd |
| gerfydd | is law | oddiwrth | trosodd |
| goris | oddeutu | o gylch | trwodd |
| goruch | oddi | o fewn | tua |
| goruwch | oddiallan | peuparth | tuagat |
| goruwch ben | oddiam | peutu | uwchben |
| gyda | oddiamgylch | rhagblaen | uwchlaw |
| gydag | oddiar | rhagbron | yn nghyd |

Ac arferir *ar* hyd, *ger* bron, *i* fewn, *o* dan, *tu* blaen, *uwch* ben, *yn* mysg.

3. Arddodiaid Rhagenwol; megis,

| | | | |
|---|---|---|---|
| am | am danaf | oddiar | oddiarnaf |
| ar | arnaf | odditan | odditanaf |
| at | ataf | oddiwrth | oddiwrthaf |
| er | erof | rhag | rhagof |
| gan | ganof | rhwng | rhyngof |
| heb | hebof | tan | tanaf |
| hon | honof | tros | trosof |
| i | imi | trwy | trwof |
| idd | iddo | wrth | wrthof |
| o | ohonof | yn | ynof; |

Y mae treigliadau yn perthyn i Arddodiaid fel y canlyn:—

| | | |
|---|---|---|
| am danaf | am danat | am dano |
| am danom | am danoch | am danynt |
| hebof | hebot | hebo |
| hebom | heboch | hebont |
| hebym | hebych | hebynt |

Bydd yr *dd* yn cael ei harferu weithiau yn y diweddaf fel hyn,—

| | | |
|---|---|---|
| hebddom | hebddoch | hebddont |

Llywodraetha Arddodiad Godidog Enw, neu Ragenw a'i canlyno; megis, "lles i ddyn."

Dylid cofio y dichon i'r un geiriau mewn gwahanol gysylltiadau fod yn Rhagferfau, yn Gysylltiaid, ac yn Arddodiaid; a'r unig ffordd i'w hadnabod ydyw sylwi beth ydyw trefn eu gosodiad yn yr ymadroddion lle y defnyddir hwynt.

Gan mai *dodi ar*, neu *ychwanegu at*, yw ystyr y gair Arddodiad, dyna yr achos, y mae yn debygol, y geilw rhai Gramadegwyr yn Arddodiaid yr hyn a eilw Gramadegwyr ereill yn Flaenddodiaid; megis, ad, add, af, an, cam, cy, cyf, dad, darn, dar, di, dy, go, &c.

Ni restrir y Blaenddodiaid uchod yn mysg yr Arddodiaid gan Dr. O. Puw, ond y maent yn cael eu golygu yn Arddodiaid gan Richards a Parry; a rhai o honynt a arddelwir gan Fardd Nantglyn fel Arddodiaid.

### CYFRYNGIAD.

Cyfryngiad a arwydda ryw gyffröad neu gynhyrfiad yn y meddwl: megis, aw! bw! dacw! dyna! dyn byw! dyt! ffi! ffw! gwae! hai! ha! Och! O! ho! whw! holo! hwi! hwt! hys! truan bach! twt! wbwb! wfft! wibw! wi! ysywaeth! ust! Teflir y geiriau, neu, yn hytrach, yr ebychiadau uchod, i fewn i ymadroddion wrth lefaru, neu wrth ysgrifenu.

Y mae yn ofynol i Ryfeddnod fod naill ai yn uniongyrchol ar ol pob Cyfryngiad, neu yn niwedd y frawddeg y perthyna iddi, neu yr arferir ef ynddi.

### TARDDIAD GEIRIAU.

Rhydd cip-olwg ar y drefn, neu y trefniadau y mae geiriau yn tarddu yn y Gymraeg ddyddordeb, y mae yn debygol, i'r ymofyngar.

Y mae pob gair o un sill yn yr iaith yn air gwreiddiol yn gyffredin: ac y mae geiriau tarddedig yn deilliaw o eiriau gwreiddiol mewn gwahanol ffyrdd; sef, naill ai trwy newid y llafariaid, neu trwy sillau ychwanegol.

Y geiriau y newidir eu llafariaid, ydynt fel y canlyn, —*a*rth, *ei*rth; b*a*rdd, b*ei*rdd.

Y geiriau yr ychwanegir atynt ydynt, arth, arth*od;* llew, llew*od;* dydd, dydd*iau;* dyn, dyn*ion;* dyn, dyn*ol*, dynol*iaeth*.

Y mae rhai Enwau Cadarn yn tarddu o Enwau

Gwan; megis, duwiol*der* o duwiol; gwrol*der* o gwrol; tlys*ni* o tlws.

Y mae rhai Enwau Cadarn yn tarddu o Ferf; megis, hau*ad* a hau*wr*, o hau.

Y mae lluaws o Enwau Gwan yn tarddu o Enwau Cadarn; megis, dyn*ol* o dyn; ffydd*iog* o ffydd; gorchest*ol* o gorchest; nerth*ol* o nerth; pwyll*og* o pwyll.

Y mae amryw Ferfau yn tarddu o Enwau Cadarn; megis, can*u* o cân; mol*i* o mawl; mesur*o* o mesur.

Y mae amryw Ferfau yn tarddu o Enwau Gwan; megis, glan*hau* o glân; coch*i* o coch; dig*io* o dig.

---

## CYSTRAWIAETH.

Cystrawen yw cyfansoddiad rheolaidd geiriau mewn ymadrodd i osod y meddwl allan yn y dull egluraf a mwyaf priodol.

### CYSTRAWIAETH ENW CADARN.

Pan ddygwyddo i Enw Cadarn Priodol ac Enw Cadarn Cyffredinol ddyfod yn nghyd mewn ymadrodd, os y Priodol fydd y cyntaf, dylid ei osod heb un Bannod; megis, "Ieuan Fardd." Ond os yr Enw Cadarn Cyffredinol fydd y cyntaf, dylai fod, "Y Bardd Ieuan." Ond pan fyddo y naill Enw Cadarn yn meddianu y llall, dylai yr hyn a feddianir fod yn nghyntaf: megis, "Gweledigaeth Esaiah." A gellir cysylltu amryw Enwau Cadarn fel hyn yn nghyd; megis, "Cadernid iaith trigolion mynyddoedd Cymru."

Arferir yr Arddodyn *o* rhwng dau Enw Cadarn Cyffredinol pan fyddo y naill fel yn dangos ansawdd y llall; megis, "Dyn o ddawn," "Gwraig o fedrusrwydd."

### CYSTRAWIAETH ENW GWAN.

Perthyna Enw Gwan i ryw Enw Cadarn a fyddo yn cael ei grybwyll neu ei ddeall: yn cael ei grybwyll; megis, "Dyn oedranus." "Llanc heinif." Yn cael ei

ddeall; megis, "Y ffol tra tawo a gyfrifir yn ddoeth," hyny ydyw, y dyn ffol.

Mwy priodol yw dodi yr Enw Gwan i ddilyn yr Enw Cadarn yn y Gymraeg na'i roddi i'w flaenori; megis, "Dwfr hallt." "Ffynon ddofn." ac nid "Hallt ddwfr." "Dofn ffynon."

Gallem ddiolch am yr arferiad o ddodi yr Enw Gwan yn mlaenaf, mewn rhan fawr, i'r cyfieithwyr llythyrenol a gyfieithasant amryw lyfrau o'r Saesoneg i'r Gymraeg; nid anfynych y cyfarfyddwn â geiriau fel hyn yn ngwaith y cyfryw; "Crefyddol addoliad." "Dwyfol wirionedd." Y mae arferiad, pa fodd bynag, wedi dwyn llawer o eiriau a'u sain yn lled esmwyth er dodi yr Enw Gwan yn mlaenaf; ac ymddangosent yn lled chwith pe caent eu harfer fel arall; yn enwedig, y rhai y defnyddir *hên* i ddangos ansawdd yr Enwau Cadarn; megis, "Hên yd," "Hên ffordd."

Cysylltir Enw Cadarn gydag Enw Gwan, drwy roi yr Enw Gwan yn nghyntaf; megis, "dryg-ddyn," "llyrf-ddyn;" waith arall a'r Enw Cadarn o flaen yr Enw Gwan; megis, "croen-llwm, croen-wyn, pen-noeth, pen-boeth."

Cyduna Enw Gwan, weithiau, â'r Enw Cadarn y perthyna iddo mewn Rhif a Chenedl; megis, "Dyn cadarn, dynion cedyrn; "Tywydd gwlyb." "Daiar wleb;" eithr nid bob amser; ac nid ydyw hyny yn hanfodol, oblegid er gwneud, nid ydyw *ansawdd* yn beth lluosog-adwy. Pan na fyddo arferiad yn caniatau Rhif i Enw Gwan fe'i dodir yn y Rhif unigol; megis, "Gwyryfon glân." "Dynion da," gan y rhai a wrthwynebant adael yr Enw Gwan yn y Rhif unigol mewn amgylchiadau ereill. Ac fe ddodir Enw Gwan, weithiau, yn y Genedl Fenywaidd i ganlyn Enw Cadarn fyddo yn y Genedl Wrrywaidd, megis, "Moses lariaidd;" yr hyn a ddengys nad oes un ddeddf gaeth dros y pethau a grybwyllwyd, ac onide fe'i dilynid yn mhob amgylchiad. Arferir Enw Gwan Niferol yn y Rhif luosog, er i'r Enw Cadarn fod yn y Rhif unigol, pan na byddo yr Arddodyn *o* rhyng-

ddynt; megis, "Deng nyn;" ond gyda yr Arddodyn dywedir, "Deg *o* ddynion."

Gellir arfer amryw Enwau Gwan yn nghyd ar ol yr Enw Cadarn; megis, "Nos dywell, dymhestlog;" ond dylid dodi Cysylltiad o flaen yr olaf; megis, "Nos dywell *a* thymhestlog." "Gwr dawnus *a* chelfyddydgar."

### CYSTRAWIAETH RHAGENW.

Blaenora Rhagenw Personol yr Enw Cadarn perthynol iddo mewn Rhif a Chenedl; megis, "*Ti* lanc." "*Hi* forwyn." "*Hwythau* foneddigesau."

Arferir Rhagenw Personol yn flaenorol neu yn ddilynol i Ferf; megis, "Ac *efe* a ddywedodd wrthynt;" neu, "Dywedodd *ef* wrthynt."

Dylid dodi y Rhagenw Meddianol bob amser o flaen yr Enw Cadarn perthynol iddo; "*Fy* ngwlad." "*Dy* wlad." "*Ei* wlad." "*Ein* gwlad." Ond pan arferir y Rhagenwau Meddianol *mau*, *tau*, rhaid eu gosod i ddilyn yr Enw Cadarn; megis, "Y wlad fau; [hyny ydyw, fy ngwlad,] "Y wlad dâu;" [dy wlad.]

Y mae yn ofynol i'r Rhagenw Perthynasol uno â'i ragflaenydd mewn Rhif a Chenedl; megis, "A Duw yr heddwch, *yr hwn* a ddug drachefn oddiwrth y meirw ein Harglwydd Iesu." "A Mair ydoedd *yr hon* a eneiniodd yr Arglwydd âg enaint." "Chwi a aethoch yn ddifudd oddiwrth Crist, *y' rhai* ydych yn ymgyfiawnhau yn y ddeddf." Dodir weithiau Ragenw Amlygol o flaen un perthynasol; megis, "Y *rhai hyn* yw *y rhai* ni halogwyd."

Ni chrybwyllir y Rhagenw Perthynasol bob amser mewn ymadrodd; megis, "Am hyny hwy a alwasant eilwaith y dyn [yr hwn] a fuasai yn ddall."

### CYSTRAWIAETH BERF.

Cynwysa pob ymadrodd perffaith Weithredydd a Gweithrediad; neu, mewn geiriau ereill, yr hwn a weithreda, a'r hyn y gweithredir arno.

Dylai y Ferf gyduno â'r Enw neu y Rhagenw a

fyddo yn Weithredydd iddi mewn Person a Rhif; megis, "Mi a hysbysais." "Ti a hysbysaist." "Efe a hysbysodd." "Ni a hysbysasom." Cymer Enw Casgledig unigol Ferf yn y Rhif unigol yn ddilynol iddi; megis, "A'r bobl a *roes* floedd;" neu, "a'r bobl a *roisant* floedd."

Gall y Ferf fod yn y Rhif unigol neu y Rhif luosog, pan fyddo dau Enwedigaethydd, a Chysylltiad rhyngddynt, yn y Rhif unigol yn perthyn iddi; megis, "Y gwynt a'r gwlaw *oedd*, neu *oeddynt* yn curo." Ac arferir, weithiau Ferf yn y Rhif unigol gydag Enw Niferol a fyddo yn y Rhif luosog; megis, "Ac wele dau o honynt *oedd* yn myned."

Gellir arfer y Ferf naill ai yn flaenorol ai yn ddilynol i'w gwrthddrych; megis, "*Anrhydeddaf* y Frenines;" neu, "Y Frenines a *anrhydeddaf*."

Arferir Berf Annherfynol ambell waith ar ol Enw Cadarn; megis, "Bwyall i *naddu*." Waith arall ar ol Enw Gwan; megis, "Heinif i *fyned*." Waith arall ar ol Berf; megis, "Ymollwng i *nofio*." Ac hefyd ar ol Rhagferf; megis, "Yn alluog i *weithredu*."

Weithiau, bydd y Gweithredydd a'r Ferf i'w deall heb eu hail adrodd; megis, "Y gwr *sy* ddoeth a chelfyddgar," hyny yw, "Y gwr *sy* ddoeth, a'r gwr *sy* gelfyddgar."

### CYSTRAWIAETH RHAGFERF.

Gosodir Rhagferfau naill ai o flaen neu ar ol y Berfau perthynol iddynt; megis, "Aeth *acw*;" neu "*Acw* yr aeth."

Dylid dodi y Rhagferfau *a*, *e*, *y*, *ydd*, ac *yr*, o flaen eu Berfau bob amser; megis, "Efe *a* atebodd." "*E* ddaeth hyd atat." "Pan *y* soniodd." Ond fe fwrir y rhai'n yn fynych o ymadroddion, gan ysgrifenu, "Efe atebodd."

Blaenora Rhagferfau o Sicrâd y Berfau yn gyffredinol; megis, "*Diau*, gwnaethwyd y ddaiar o ddim."

Blaenora y Rhagferfau Nacäol y Berfau hefyd; megis,

"*Oni* wyddost, *oni* chlywaist, na flina, ac na ddiffygia Duw tragwyddoldeb?"

Gosodir Rhagferfau hefyd ar ol gwrthddrych y Ferf; megis, "Dyryswyd fi *yn hollol.*" "Talodd iddo ef *yn ddau ddyblyg.*"

## CYSTRAWIAETH BANNOD.

Ni ddylid gosod Bannod o flaen enwau priodol dynion, os na fydd rhyw hynodrwydd neillduol yn yr hwn y byddir yn cyfeirio ato; megis, "*Y* Moses yma." "Hwn yw *y* Moses." Pan ddygwyddo i ddau Enw Cadarn Cyffredinol ddyfod yn nghyd, cymer yr un llywodraethol y Bannod o'i flaen; megis, "Dwfr *y* môr." Os dygwydd i amryw Enwau Cadarn ddyfod yn nghyd, dylai y Bannod fod o flaen yr olaf; megis, "Caniad clychau *y* deyrnas."

Defnyddir Bannod hefyd gyda Rhagenwau; megis, *yr* hwn, *y* neb, *y* rhai.

Er mwyn llithrigrwydd sain torir yr *y* o'r Bannod *yr* ar ol llafariad; ac arferir ef fel hyn, Y mab *a'r* ferch. "Trywanu *â'r* cleddyf." "Cerdded *i'r* ardd." "Troi *o'r* tŷ."

Yn y cyntaf y mae yr *a* yn Gysylltiad; yn yr ail y mae yn Arddodiad; ac Arddodiaid yw yr *i* a'r *o* hefyd. Arferir tori ymaith yr *y* ar ol y Rhagferf na; megis, "Cynt na'*r* fellten." "Cochach na'*r* rhosyn." Ystyrir Bannod o flaen Berf yn dwyn ffurf Rhagferf; megis, "Ar hwn *yr* edrychaf." Arferir *ydd* o flaen Berfau gan y Beirdd; megis,

"O erw i gant yr â gwr,
O ddwy i un *ydd* â anwr,

a dywedir ei fod yn cyfranogi o anian Rhagferf; anturiodd Dewi Wyn ei osod o flaen Enw Cadarn yn y llinell ganlynol,

"Treth *ydd* yd nid rhith o dda,"

am anmhriodoldeb neu briodoldeb yr arferiad, barned y darllenydd deallus.

### CYSTRAWIAETH CYSYLLTIAD.

Gosodir y Cysylltiaid *a*, *pe*, a *na*, o flaen geiriau a ddechreuont â chydsain; megis, "Dyn *a* dynes." "Haul *a* lloer." "*Pe* meddyliasit." Yr unrhyw ystyr sydd i *ac*, a *ped*, ond eu bod hwy yn cael eu harfer o flaen geiriau a ddechreuont â llafariaid; megis, "Mynydd *ac* afon." "Dyn *ac* anifail." "*Ped* adwaenit." "*Ped* edrychit."

Deallir Cysylltiaid weithiau heb eu harferu; pan ddywedir, "*Fel* y bydd y tywydd y bydd y farchnad," am "Fel y bydd y tywydd, *felly* y bydd y farchnad."

Gwneir un gair yn fynych drwy sillgoll, â'r Cysylltiad *a* pan fyddo yn blaenori Rhagenw Meddianol; megis, *a'th*, am *a eith; a'ch*, *a eich; a'm*, am *a ym.*

### CYSTRAWIAETH ARDDODIAD.

Llywodraetha yr Arddodiad Didoledig yr Enw neu y Rhagenw a fyddo yn ei ddilyn fel gwrthddrych; megis, "Gogoniant *i* Dduw." "Galw *ar* hon."

Arferir amryw Arddodiaid weithiau yn yr un ymadrodd; megis, "*Yn* y môr ac *ar* y tir." Neu, "Aeth *o* Gynwy *drwy* Fangor *i* Gaergybi."

Cysylltir amryw o'r Arddodiaid unigol â Rhagenwau Personol; megis, *ar*-naf, *at*-af, *heb*-of; neu yn yr ail neu y trydydd Person; megis, *ar*-nat, *at*-at, *heb*-ot; *ar*-no, *at*-o, *heb*-ddo.

Ac er i'r ymadrodd fod yn fwy nerthol ychwanegir y Rhagenwau Cadarn atynt; megis, *ar*-naf fi, *at*-at ti, *at*-o ef.

### CYSTRAWIAETH CYFRYNGIAD.

O flaen ei gwrthddrychau bob amser y dodir Cyfryngiaid; megis, Och fi! Ha wraig!

I ganol ymadroddion, fel arwydd cyffroad y teflir Cyfryngiaid yn gyffredin.

### GWAHANODIAD.

Wrth Wahannodiad y mae ini ddeall dosbarthiad brawddegau yn rhanau cyfleus er mwyn pwysleisio yn

gyfaddas. Defnyddir saith o nodau er cyraedd yr amcan hwn, y rhai a elwir Rhagwahannod (,) Gwahannod (;) Dryllymadrodd (:) Diweddnod (.) Nod o Holedigaeth (?) Rhyfeddnod (!) a Gwahanlin (—)

### RHAGWAHANNNOD.

Gan mai y Rhagwahannod a arferir fynychaf mewn cyfansoddiad, efe yw y mwyaf pwysig. Y mae dau fath o arferiad y nodau yn bod, sef, yr uchel a'r isel. Gweinydda yr engraff ganlynol er dangos yr anhawsder o arfer y nodau yn y dull uchel:—

"Yn bresenol, er y gall hyn, a'i fod, yn rhy fynych, yn cael ei ystyried, gan lawer, yn drosedd uniongyrchol, eto, wrth weled, o dan yr holl amgylchiadau, y gwna dynion, er gwaethaf y gyfraith, redeg pob antur, nid allwn, yma, ei gymeryd i ystyriaeth ddifrifol."

Y mae pymtheg o Wahannodau wedi eu harfer yn y frawddeg uchod, ac nid ellir, a sylwi yn fanwl, ddyweud fod ynddi ormod; eto, gellir eu tynu i lawr i bedwar heb niweidio dim ar y synwyr:—

"Yn bresenol er y gall hyn, a'i fod yn rhy fynych yn cael ei ystyried gan lawer yn drosedd uniongyrchol, eto wrth weled o dan yr holl amgylchiadau, y gwna dynion redeg pob antur, nid allwn yma ei gymeryd i ystyriaeth ddifrifol."

Y mae gwahannodi yn uchel, fel y gwelir yn y frawddeg a ddifynwyd, yn dra grymus, ac yn rhoddi help mawr i'r darllenydd; ond ni ddylid arfer y dull yma ar antur. Rhaid gofalu bob amser am fod undeb esmwyth a naturiol yn cael ei gadw rhwng holl gymalau y frawddeg, er eu bod yn cael eu gwahanu. Gellir gwneud hyn yn amlycach drwy engraff, fel hyn,—

"Ond, gan nad oedd yn alluog i gael ceffyl, gorfu iddo gerdded adref."

"Ond, nid allai gael ceffyl, a gorfu iddo gerdded adref."

Y mae y gyntaf o'r ddwy frawddeg wedi ei nodi yn gywir, oblegid goddefa ei darllen yn wahanol; megis,

"Ond, gorfu iddo gerdded adref, gan ei fod yn analluog i gael ceffyl." Nid ydyw yr *ond* yn gysylltedig anwahanadwy â'r frawddeg gyntaf, pa ben bynag iddi a gymerir, ac felly gellir dodi Rhagwahannod ar ei ol; ond y mae yr *ond* yn rhan anwahanadwy o'r olaf, gan hyny nid ellir gosod y Rhagwahannod ar ei ol. Ac nid oes angenrheidrwydd anhebgorol am ei osod ar ol yr *ond* cyntaf. Dyma a elwir atalnodi uchel, ac os dechreuir gyda hyn mewn cyfansoddiad, dylid parhau.

Gellid arfer y Rhagwahannod lle byddo gwrthdröad, pryd y byddai hyny yn anmhriodol mewn cyfansoddiad amlwg; megis,

"Yn erbyn y fath wastraff cywilyddus, yr wyf yn ardystio yn ddifrifol." Gan fod yma wrthdröad yn yr ymadrodd, y mae Rhagwahannod yn ofynol; ond byddai yn afreidiol yn y frawddeg yn y dull a ganlyn:—

"Yr wyf yn ardystio yn ddifrifol yn erbyn y fath wastraff cywilyddus."

Bernir fod arferiad y dull uchel o atalnodi yn tueddu i daflu y Gwahannod yn fwy o arferiad; megis y gwelir yn yr engraff a ganlyn:—

"Y mae dynion yn ymryson yn rhy fynych o achos pethau dibwys; ond ar ol ychydig o ystyriaeth bydd yn gywilydd ganddynt."

"Y mae dynion yn ymryson yn rhy fynych o achos pethau dibwys, ond, ar ol ychydig o ystyriaeth, bydd yn gywilydd ganddynt,"

Y mae y cyntaf wedi ei hatalnodi yn ol yr hen ddull, a'r diweddaf yn ol y dull newydd.

Arferir y Rhagwahannod yn y sefyllfaoedd canlynol:—

1. Rhwng Enwau Cadarn, megis, "Pa un bynag ai Paul, ai Apolos, ai Cephas, ai'r byd, ai bywyd, ai angeu, ai pethau presenol, ai pethau i ddyfod."

2. Rhwng Enwau Gwan; megis, "Gwraig ddoeth, bwyllog, a chrefyddol."

3. Rhwng Berfau; megis, "Rhybuddiwch, cyngorwch, cysurwch, a chefnogwch eich gilydd."

4. Rhwng Rhagferfau; megis, "Er cyraedd enwog-

rwydd rhaid bod yn ddiwyd, yn hunanymwadol, ac yn weithgar."

Lle na byddo ond dau o'r geiriau a grybwyllwyd a'u cyffelyb yn cael eu defnyddio, os bydd Cysylltiad rhyngddynt, nid oes angenrheidrwydd am Ragwahannod; megis, "Mab a merch." "Dyn a dynes;" ond pan ffurfir ymadroddion o'r fath yn olynol rhaid dodi Rhagwahannod rhwng pob dau; megis, "Y mae goleuni a thywyllwch," "Crist a Belial," yn groes y naill i'r llall.

5. Ar ol crybwyll am y gwrthddrych a anerchir; megis,

"O Dduw, rho im' dy hedd."

6. Pan ddygir rhyw ymadrodd o waith rhyw un arall i fewn gan awdwr, dodir Rhagwahannod i'w flaenori; megis, "Gwyn ei fyd y gwr ni rodia yn nghyngor yr annuwiolion."

Sylwer, y mae yn ofynol fod y nodau canlynol o bob tu i bob ymadrodd, neu adran ymadrodd a ddifyner o waith arall; sef, " "

### GWAHANNOD (;)

Arferir Gwahannod rhwng cymalau ymadrodd y byddo llai o gysylltiad rhyngddynt â'u gilydd nag sy rhwng y rhai yr arferir Rhagwahannod i'w didoli. Y mae llai o arferu y Gwahannod nag a fu, drwy fod y Rhagwahannod wedi dyfod i gymaint o arferiad. A phan yr arferir Gwahannod, gwneir hyny er ceisio dangos nad ydyw yr ymadrodd wedi ei orphen yn gyflawn; megis, yn yr engraffau canlynol, "Y sawl a'm carant i a garaf finau; a'r sawl a'm ceisiant i yn fore a'm cant." "A hyn yma, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, ychwanegwch at eich ffydd rinwedd; ac at rinwedd wybodaeth; ac at wybodaeth gymedrolder; ac at gymedrolder amynedd; ac at amynedd dduwioldeb; ac at dduwioldeb garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol gariad."

### DRYLLYMADRODD (:)

Y mae y Dryllymadrodd, o ran ei ddefnydd, yn nesaf i'r Diweddnod; oblegid gallai yr ymadrodd, y defnyddir ef yn ei ddiwedd, sefyll arno ei hun heb ddim ychwanegiad ato; ond y mae yn agored i gael ychwanegiad ato os dewisir. Fe'i harferir mewn ymadrodd fel y canlyn, "Duw sy berffaith ei ffordd: gair yr Arglwydd sydd wedi ei buro: tarian yw efe i bawb a ymddiriedant ynddo." Arferid llythyren benigol ar ol y nod hwn gynt. Anfynych yr arferir Dryllymadrodd yn bresenol.

### DIWEDDNOD (.)

Diweddnod bob amser a ddengys fod yr ymadrodd blaenorol iddo yn gyfansoddiad cyflawn; a'i fod yn cynwys synwyr heb ddibynu ar ddim a ganlyn; fel y gwelir, weithiau, mewn dau air; megis, "Perchwch bawb. Cerwch y brawdoliaeth. Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenin."

Rhoddir Diweddnod ar ol pob gair a dòrir; megis, hol. am holiad; at. am atal; h. y. am hyny ydyw; O. Y. am Ol-ysgrif; a D. S. am Dalier sylw.

### NOD O HOLEDIGAETH (?)

Nod o Holedigaeth a arferir i ddangos fod yr awdwr yn gofyn rhywbeth; megis, yn yr adnod ganlynol, "A ddaethost ti i eigion y môr? ac a rodiaist ti yn nghilfachau y dyfnder?" Gofynir weithiau luaws o ofynion yn nghyd heb atebion iddynt; brydiau ereill atebir hwynt yn uniongyrchol; megis, "Pa fodd y glanha llanc ei lwybr? wrth ymgadw yn ol dy air di." "Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan? Neb."

Arferir y nod hwn yn nghanol ymadrodd rhwng [?] pan fyddir am daflu amheuaeth i feddwl y darllenydd yn nghylch yr hyn a ddywedir am berson neu bersonau; megis, "Geilw y Pab ei hun yn olynwr [?] Pedr."

### RHYFEDDNOD (!)

Rhyfeddnod a ddengys fod rhyw syndod, neu bwysfawrogrwydd neillduol yn yr ymadrodd lle byddo; a dylid, yn unol â threfn ac ansawdd y fath ymadrodd, ei ddarllen felly. Gellir canfod ei ddefnydd yn yr adnodau canlynol, "O, na chuddit fi yn y bedd! na'm cedwit yn ddirgel, nes troi dy lid ymaith; na osodit amser nodedig i mi, a'm cofio!" Fe'i harferir hefyd o wawd; megis, "Rhesymau ardderchog!"

### Y WAHANLIN (—)

Y mae y Wahanlin *(Dash)* wedi dyfod i gryn arferiad, yn ddiweddar. Edrycha rhai ar ddygiad hon i fewn fel un o'r pethau mwyaf pwysig. Ei bod yn gorphen trefniant yr atalnodi, gan symud ymaith bob amheuaeth ac anhawsder. Daeth y Wahanlin i arferiad go gyffredin tua dyddiau Sterne, yr hwn a'i harferai yn ormodol, er rhoddi i'w ysgrifau y tröadau hynod hyny yr oedd efe yn eu hoffi mor fawr. Arferir hi weithiau yn lle Dryllymadrodd. Gwna y tro hefyd yn lle y Gwahanran (¶); ac fe'i harferir yn lle *ac*, er cynal i fynu olyniad; megis, yn y difyniad canlynol, "Y mae trigolion yr Unol Daleithiau wedi byw, am dros ddeugain mlynedd, yn y mwynhad o dawelwch cartrefol, ac agos o heddwch dirwystr—dan lywodraeth a'u cariodd yn fuddugoliaethus drwy ryfel gydag un o'r cenedloedd mwyaf grymus yn Ewrop—o dan yr hon y mae fforestydd anhygyrch wedi eu troi yn wastadedd—pentrefydd dinodded wedi tyfu yn ddinasoedd ardderchog—trafnidiaeth wedi ei sefydlu rhyngddynt â phob parth o'r greadigaeth—addysg wedi ei gefnogi—gwybodaeth o bob math wedi cael ei meithrin—crefydd wedi blodeuo, a gradd mwy o ddedwyddwch personol a chysur wedi cael ei fwynhau nag a syrthiodd i ran unrhyw genedl yn Ewrop—byddai yn hawdd profi nad ydyw llywodraeth a gynyrchai y fath effeithiau a hyn mor ddrwg ag y mynai rhagfarn pendefigol Hall iddo feddwl."

Y mae amryw nodau ereill a arferir mewn ysgrifau gyda y rhai y dylai yr efrydydd fod yn gydnabyddus cyn troi yn awdwr; megis, y sillgoll (') Acen Dderchafedig (´) Acen Amgylchedig (^) Didolnod (¨) Ymsangau ( ) [ ] Prawfnod (" ") Gwahanran (¶) Cysylltnod (-) Diffyglin (——) Gwallnod (‸) Mynegfys (☞) Yr Unydd (‿‿) Sernodau * * *

### SILLGOLL (')

Arferir Sillgoll pan dòrir llythyren, neu sill allan o air; megis, "cyff'lybiaeth" yn lle "cyffelybiaeth." Arferir y nod hwn hefyd i wasgu dau air yn un; megis, "y rhei'ny" am "y rhai hyny;" ond nid priodol dyweud "y bobl rhei'ny," na'r "bobl rhai'n;" canys byddai hyny yr un peth a dyweud "y bobl rhai hyny;" "y bobl rhai hyn." Peth hyll iawn a hollol afreolaidd yw arfer a dyweud "O fewn i'r muriau rhai'n," megis y clywir yn fynych. "Y muriau hyn" a ddylid arfer.

### ACEN DDERCHAFEDIG (´)

Acen Dderchafedig a arferir yn fwyaf cyffredin i ddangos ar ba lythyren mewn gair y dylid pwysleisio; megis, ar é yn y gair pénau; ó yn y gair tóri. Arferir yr Acen Dderchafedig er dangos y gwahaniaeth sy rhwng sill drom a sill ysgafn; megis, gwỳn, gwŷn. Y gwahaniaeth sy rhwng Acen a Phwyslais yw, mai ar lythyren mewn sill y pwysir wrth ddodi Acen, ac ar air y pwysir mewn ymadrodd wrth osod y Pwyslais.

### ACEN AMGYLCHEDIG (^)

Acen amgylchedig a arferir uwch ben llafariad i arwyddo y dylid rhoddi sain hirllaes iddi; megis, y gwelir yn yr engraffau canlynol,

| *Derchafedig.* | *Amgylchedig.* |
|---|---|
| glán | glân |
| tán | tân |
| mór | môr |
| gwén | gwên |

DIDOLNOD (¨)

Arferir Didolnod uwch ben llafariaid mewn gair i'r dyben o wahanu ei sillau oddiwrth eu gilydd; megis, annïalgarwch; sef, heb ddialgarwch, ac nid anialgarwch; sef, caru anial.

YMSANGAU ( ) [ ]

Ymsangau a arferir i gau allan air neu ran o ymadrodd a ellid ei hebgor heb niweidio y synwyr; eto nid ydyw yr hyn a geuir allan yn anfuddiol ei wybod bob amser; ond, yn gyffredin, teifl oleuni ar yr hyn a adroddir; megis, "Dywedodd un o weision yr archoffeiriad, (câr i'r hwn y tòrasai Pedr ei glust) oni welais i di gydag ef yn yr ardd?"

Arferir [ ] pan fydd yr ysgrifenydd, neu y cyfieithydd, yn taflu rhyw sylw eglurhäol i ganol ymadroddion awdwr; megis, "Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthynt, Dinystriwch y deml hon, [sef, teml ei gorff] ac mewn tridiau y cyfodaf hi."

Nid ydyw ( ) mewn cymaint o arferiad ag y gwelwyd ef, gwneir mwy o ddefnydd o'r Rhagwahannod er peidio ei ddefnyddio, mewn llawer amgylchiad.

PRAWFNOD (" ")

Y Prawfnod, neu y Rhagwahandro, a osodir er dangos nad ydyw yr hyn a ysgrifenwyd rhyngddo, o waith yr awdwr ei hun; megis,

"Nid da gormod o ddim."

Pe byddid yn dewis rhoddi darn o waith awdwr heb ei enwi, gwnai defnyddiad y Prawfnod ryddhau yr ysgrifenydd oddiwrth y cyhuddiad o fod yn llênyspeilydd.

GWAHANRAN (¶)

Ni arferir Gwahanran, yn fynych, gan ysgrifenwyr y dyddiau hyn; a phan arferir ef gwneir hyny i nodi dechreuad corff o ymadrodd ar unrhyw achos. Arferir ef yn fynych yn y Bibl.

### CYSYLLTNOD (-)

Cysylltnod a arferir i gysylltu dau air gwahanol yn un ; megis, genedigaeth-fraint, ac nid genedigaeth fraint; ysgafn-droed, ac nid ysgafn droed. Ni wneir cymaint o arferiad o'r nod hwn, yn bresenol, ag a wneid gynt, canys fe gysylltir llawer o eiriau hebddo; megis, blaenllym, pwysfawr, a nwydwyllt. Mewn geiriau fel ufudd-dod, digywilydd-dra lle byddo *dd* a *d* yn nesaf i'w gilydd y mae llwyr angen am dano.

### DIFFYGLIN (——)

Arferir Diffyglin i ddangos fod yr awdwr yn gadael allan rhyw ran o'r ymadrodd, gan gymeryd yr hyn a fyddo addasaf i'w fater; neu fod ychwaneg i'w ddyweud ar yr un pwnc, eithr fod yr awdwr mewn brys am fyned at beth arall ; megis,

> "—— Roi gynydd i'r eginau :——
> Llaw Dduw'n hyn ;——llaw Adda'n hau."

Hefyd arferir Diffyg linell pan adewir cydsain allan o air; megis, T———s am Thomas; neu pan adewir llafariaid allan o air; megis, Ll—n—d—n am Llundain.

### GWALLNOD (‸)

Arferir Gwallnod pan adewir llythyren allan o air, neu air allan o linell mewn annghof neu gamgymeriad; megis pe'r ysgrifenid,

> "Nid cloch wrth wddf ynfyd,"

ac wedi canfod y gwall ysgrifenir yr hyn oedd ddiffygiol fel hyn,

> rhaid
> "Nid‸cloch wrth wddf ynfyd."

Ni arferir y nod hwn un amser ond mewn ysgrifen.

### MYNEGFYS (☞)

Arferir y Mynegfys pan fydd eisiau sylw neillduol at fynegiad neu ymadrodd.

### YR UNYDD (⁀)

Arferir yr Unydd i uno geiriau neu linellau yn nghyd, yn enwedigol mewn Prydyddiaeth; megis,

"Ni chaid diwedd } a'i hanesion."
O'i hynawsedd }

### SERNODAU (* * *)

Tair neu bedair o Sernodau gyda eu gilydd a ddengys fod rhywbeth wedi ei adael allan o'r ymadrodd blaenorol iddynt, ac na ddefnyddiodd yr awdwr ond yr hyn oedd yn ateb ei ddyben ef. Hefyd fe'u harferir pan fyddo gan awdwr ryw beth rhy erchyll i'w adrodd.

Y mae Nodau ereill a arferir gan awdwyr; sef, Nodau Cyfeiriol, y rhai a elwir, y Seren (*), y Bidog (†), y Ber (‡), y Rheol Ddwybig (‖), a'r Dosbarthnod (§), pan ewyllysiont gyfeirio y darllenydd at rhyw nodau eglurhäol ar ymyl neu odre y tudalen.

Arferir weithiau y mân lythyrenau, neu y rhifnodau, at hyn; megis, [a b c d, neu, 1 2 3 4.]

### Y PRIF LYTHYRENAU.

Arferid y Prif Lythyrenau, yn y llyfrau a argreffid tua chanol y Ganrif ddiweddaf, yn nechreuad pob Enw Cadarn. Fe'u harferir, yn bresenol, yn llawer cynilach.

1. Fe'u harferir yn nechreuad pob brawddeg, bydded fer neu hir.
2. Yn nechreuad pob llinell o Farddoniaeth.
3. Yn nechreuad pob difyniad a wneir o waith awdwyr ereill.
4. Yn nechreuad Enwau y Bod Goruchaf; megis, Arglwydd, Duw, Hollalluog, Goruchaf; hefyd y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.
5. Yn nechreuad Enwau Priodol dynion a lleoedd; swyddau a chelfyddydau; dyddiau yr wythnos, misoedd, a'r tymorau.
6. Yn nechreuad pob Enw a ddeillio o Enw Priodol; megis, Cristionogion, Prydeiniaid, Cymry, Ffrancod.
7. Yn nechreuad pob Enw Gwan a ddeillio o Enwau Priodol; megis, Cristionogol, Prydeinaidd, Cymröaidd, Ffrancaidd.

8. Yn nechreuad pob gair pwysig; megis, y Diwygiad Protestanaidd, Canrif, Eglwys, Ymneillduwyr.

9. Arferir y Rhagenw I gyda llythyren benigol yn y Saesoneg; ac ni wyddir am un rheswm paham na arferir *mi* gydag M benigol ynddo yn Gymraeg, ac I wrthi ei hun.

10. Dodir y Cyfryngiad O mewn llythyren benigol.

Y dyben o arfer llythyrenau Italaidd yw nodi allan ryw air neu eiriau y dymunir cael sylw neillduol arnynt; a phan ddymunir cael mwy o sylw, arferir llythyrenau penigol. Arferir llythyrenau Italaidd hefyd er taflu diystyrwch ar berson; megis, pe dywedid y *Bardd* am un na fyddai yn fardd, neu y *Parchedig* am un na fyddai yn Barchedig.

---

## EGLURHAD AR DERFYNIADAU ENW GWAN.

Y mae amryw o derfyniadau yn perthyn i Enwau Gwan y dylid sylwi arnynt; sef, *aid*, *aidd*, *ain*, *awg*, *awl*, *awr*, *edig*, *fawr*, *gar*, *ig*, *lawn*, *in*, *lyd*, ac *us;* eithr nid ydyw yn briodol eu harferu yn ddiwahaniaeth; canys y mae gwahaniaeth yn bod rhyngddynt; megis,

*Aid*, a arferir pan fyddo peth yn orchuddiedig, neu yn llawn; megis, eur*aid* yn orchuddiedig gan aur; cod*aid* llonaid cod.

*Aidd*, yn tueddu at; tebyg; megis, dyn plentyn*aidd*, un yn tueddu at blentynrwydd, neu yn debyg i blentyn. Y mae y terfyniad hwn yn cael ei gamddefnyddio pan ddywedir "Cymdeithas Fibl*aidd;*" oblegid nid cymdeithas yn *tueddu at* Fibl, neu *un debyg i* Fibl a olygir; ond cymdeithas er dosbarthu y Bibl yn rhad. Ymddangosai yn chwith pe dywedid "Cymdeithas glaf*aidd*," am y gymdeithas i gynorthwyo y cleifion mewn afiechyd; y mae y cyntaf yr un mor anmhriodol. Byddai Bibl Gymdeithas yn well er cymaint mae yn ddynwared ar y Saesonaeg, Y Gymdeithas Fiblawl fyddai yn rheolaidd, fel y Gymdeithas Draethodawl, a'r Gymdeithas Genadawl.

*Ain*, a arwydda parhaus, llawn o; megis, Pryd*ain* yr hyn a arwydda llawn o brydferthwch, fel mir*ain*.

*Awg*, a arwydda yn gyflawn o; megis, don*iawg*, dei*liawg;* dyn doniawg, dyn yn gyflawn o ddawn; coedwi ddeiliawg, un gyflawn o ddail.

*Awl*, a arwydda perthynol i; megis, Cymdeitha Draethod*awl;* hyny ydyw, cymdeithas berthynol draethodau. Dinas*awl*, perthynol i ddinas. Cymr*awl*, perthynol i Gymro.

*Awr*, a arwydda barhad fel *ain*; megis, geiri*awr* siaradus.

*Edig*, a arwydda wedi ei gynysgaeddu âg; megi dyn dysg*edig*, un wedi ei gynysgaeddu â dysg; dy prof*edig*, un wedi ei brofi neu ei gynysgaeddu â phrofiad

*Fawr*, a arwydda mawr; megis, drud*fawr*, treul*fawr*

*Gar*, a arwydda ymroddedig at, chwanog; megi dyn arian*gar;* sef, un ymroddedig at gael arian, ne chwanog i arian; dyn enllib*gar*, un chwanog i enllibi

*Ig*, a arwydda perthynol i wlad neu le; megis Gwyddel*ig*, gwled*ig*. Arwydda hefyd ansawdd, ne wedi ei gymysgu â, neu ei gysoddi gydag; megis, dy cythreul*ig*, fel y dyn yn ngwlad y Gadareniaid. Dwf gwenwyn*ig*.

*Lawn*, a arwydda llawn; megis, bodd*lawn*, dig*llawn* hyny ydyw llawn boddineb; a llawn digofaint.

*In*, a arwydda yn gynwysedig o; megis, eur*in*; se yn gynwysedig o aur.

*Lyd*, o llyd, a arwydda ryw gyneddf neu ansawd anweddus; megis, diog*lyd*, cybydd*lyd*. Anfynych y arferir *lyd* i ddynodi teithi prydferth neu ddymunol.

*Us*, a arwydda cynwysedig yn; megis, bei*us*, mew bai; helbul*us*, mewn helbul.

Gwelir yn ngwyneb yr engraffau uchod mor ofalus dylid bod gyda therfyniadau Enwau Gwan, er eu cael iawn drosglwyddaw meddwl yr areithydd a'r ysgrifen ydd.

Arferir uno rhai o'r terfyniadau uchod weithiau, pa fyddo eisiau gwanychu neu leihau ystyr gyflawn gai Nid ydyw yn briodol eu huno os na fydd lleihad mew

golwg; megis, gyda y gair taiog-*aidd* am un lled daiog; dynol-*aidd* am un lled ddynol. Y mae rhai geiriau, pa fodd bynag, wedi cymeryd eu lle yn yr iaith gyda dau derfyniad heb i neb ameu dim yn nghylch eu hystyr; megis, santeidd-*iawl*, caredig-*awl*, cyffredin-*awl*, iachus-*awl*, trefnus-*awl*, gerwin-*awl*, a chlodfor-*us*; ond y mae yn debyg mai drwy beidio rhoi ystyriaeth ddyladwy i'r peth ar y cyntaf y gwnaed hyny, ac y cafodd y geiriau a ddynodwyd eu goddef mor ddirwgnachiad gan ein Gramadegwyr. Pan arferir hwy cofier fod ystyr wreiddiol y gair yn cael ei gymesuro.

### Y GWAHANIAETH SY RHWNG MAE A MAI, AC AC AG, &c.

Bydd ysgrifenwyr annghynefin yn ysgrifenu *mae* a *mai*, *ac* ac *ag*, *i'w* ac *yw*, heb olygu fod gwahaniaeth rhyngddynt. Os sylwir ychydig ar yr adnodau canlynol, gwelir y gwahaniaeth yn eglur.

Berf Ganolryw yw *mae;* megis, "Wele y *mae* efe yn gweddio."

Cysylltiad Cydiadol yw *mai;* megis, "Gwybyddwch *mai* yr Arglwydd sy Dduw."

Cysylltiad Cydiadol yw *ac;* megis, "*Ac* yr oedd yn y wlad hono fugeiliaid yn aros yn y maes, *ac* yn gwylio eu praidd liw nos."

Arddodyn yw *ag (with);* megis, "Pwy yw hwn sydd yn tywyllu cyngor *ag* ymadroddion heb wybodaeth?"

Rhagenw Arddodiadol ydyw *i'w;* megis, "Aeth hwn i waered *i'w* dŷ wedi ei gyfiawnhau yn fwy na'r llall."

Berf Ganolryw ydyw *yw;* megis, "Ti *yw* y Crist, Mab y Duw byw."

Os methir a deall y gwahaniaeth ar ol darllen yr engraffau uchod, troed y darllenydd i'r Bibl Seisnig, a gwelir y gwahaniaeth yn eglur yno.

### AC *a* NAC, AG *a* NAG.

Y mae *ac* yn Gysylltiad yr un fath ac *a*, ond fod *ac* yn cael ei arferu o flaen llafariad; megis, "Tân *ac*

awyr;" ac *a* o flaen cydseiniad; megis, "Bryn *a* mynydd." Y mae *nac* yn Gysylltiad yr un fath a *na*, ond fod *nac* yn cael ei arfer o flaen llafariad, ac yn ddilynol i negidydd arall; megis, "*Nid* oedd efe yn sefyll *nac* yn eistedd;" a *na* o flaen cydseiniad; megis, "*Nid* oedd yno brudd-der *na* llawenydd."

Geilw y Dr. O. Puw *ag* yn Gysylltiad. Y mae *ag* ac *a* yr un peth, ond fod un yn cael ei arfer o flaen llafariad a'r llall o flaen cydseiniad. Ni arferir yr un o'r Cysylltiaid hyn ond pan fyddo rhyw gystadledd yn cael ei arwyddo, neu unrhywiaeth, a phan byddo yn ateb i ryw air blaenorol; megis, "Y mae cariad *mor* gryf *ag* angau." Yr oedd yn dywydd *gystal ag* a allasid ddysgwyl." "Fe fwytäodd yr un peth *ag* ereill."

Y mae *nag* yn Gysylltiad yr un fath a *na*, ond fod y cyntaf yn cael ei arfer o flaen llafariad, a'r diweddaf o flaen cydseiniad; megis, "Y mae pres yn *rhatach nag* aur." "Y mae pres yn *feddalach na* dur."

Yn wyneb yr engraffau uchod gwelir fod *nag* a *na* yn cael eu harfer ar ol y Radd Gydmariaethol.

EI *ac* EU, AI *ac* A'U.

Dylid cofio mai wrth son am un person yr arferir *ei* *ac* *a'i*; megis, "Dangosodd imi *ei* dŷ *a'i* ardd." Ac mai wrth son am amryw yr arferir *eu* ac *a'u*; megis "Dangosasant imi *eu* tai *a'u* gerddi."

Talfyriad yw *a'i* o *a ei*, unigol; ac *a'u* o *a eu*, lluosog, er mwyn ystwythder mewn ymadrodd.

GEIRIAU CYDIADOL.

Ffurfir geiriau cydiadol o ranau ymadrodd gwahanol; megis, *di nerth*. *Di* sy Flaenddodyn Nacäol, a *nerth* sy Sylweddair; ond drwy eu cysylltu â'u gilydd, gwneir un Ansoddair o honynt; a gellir dywedyd, "dyn dinerth."

*Troedfainc* sydd wedi ei gyfansoddi o ddau Sylweddair neu Enw, sef, *troed* a *mainc*, a'r olaf yn meddiant y cyntaf, er dychwelyd yr *m* i *f;* a dylid ei seinio

troedfainc, ac nid *troed fainc;* canys heb eu cysylltu, a'u seinio mewn cysylltiad â'u gilydd, ni fedd y gair *troed* feddiant ar y gair *mainc* i droi yr *m* i *f;* yna o ganlyniad, os ar wahan y seinir hwynt, *troed mainc* a ddylid ddyweud; ond rhoddai hyny feddylddrych gwahanol i'r hyn a fwriedid; oblegid nid am *droed mainc*, ond am *fainc* i'r *troed* y byddir yn meddwl.

Gellir ffurfio math arall o eiriau cydiadol, y rhai a ellir eu seinio a'u hysgrifenu yn gysylltiedig neu yn wahanedig; megis, *priflys*, *glaswellt*, *lledchwith*, *noethlwm*. Os yn gysylltiedig yr ysgrifenir hwynt, felly y dylid eu seinio; neu os ar wahan, megis, *prif lys*, *glas wellt*, *lled chwith*, *noeth lwm*, felly y dylid eu seinio; ond y maent yn grynöach wedi eu cysylltu.

## CAM DARDDU GEIRIAU.

Peth y mae llawer wedi bradychu eu hanwybodaeth yn fawr drwyddo yw y dull a gymerant i ddangos tarddiad geiriau. Ceisiai un gwr ddadgymalu y gair *trugaredd*, a gwaeddai nerth eigion ei wddf, mai ei ystyr ydyw "*tri yn caru hedd:*"—nid ydym am geisio gwadu yr athrawiaeth a bregethai efe, ond prin y gallwn weled y pwnc yn y gair *trugaredd;* a'r un peth fuasai iddo, yn ein tyb ni, chwilio am dano yn yr adnod ganlynol, sef, "Deg ar hugain o gawgiau aur, mil o gawgiau arian, naw ar hugain o gyllyll," a cheisio ei dynu o'r gair *trugaredd;* oblegid deilliad y gair *trugaredd* sydd o *tru* a *câr;* sef, *caru tru*, neu *truan*.

Y gair *cyfamod* a'r gair *cyfiawn* a ddadgymelir yn rhyfedd hefyd. Byddir yn gwaeddi "*cyfa amod*," a "*cyfa iawn;*" gan fynegu mewn modd eglurhaol mai "peth *cyfa* yw y cyfamod;" ac mai "*cyfa* yw y *iawn*," ond gallai y cyfryw a ddywedant hyn arbed y drafferth a gymerant arnynt eu hunain pe yr ystyrient am funud darddiadau y geiriau; sef, mai o *cyd* ac *amod* y mae un yn tarddu, a'r llall o *cyd* ac *iawn*.

Mynai un o'r tylwyth yma, yn ddiweddar, mai "*cref ffydd*," sef, *ffydd gref*, yw ystyr y gair *crefydd*. Ond

barna y Dr. O. Puw fod y gair yn tarddu o *cref-ydd*, sef un yn *crefu*, neu yn *erfyn*, yr hyn sydd yn llawer mwy rhesymol; oblegid y mae son am un "gwan yn y ffydd," yn yr Epistol at y Rhufeiniaid, a hwnw yn meddu crefydd fel y dywedir.

### CAM ARFERIAD GEIRIAU.

Y mae llawer o gam arfer geiriau gan lefarwyr ac ysgrifenwyr ieuainc, y gwnai ychydig o ystyriaeth eu dodi ar eu gocheliad rhag hyny. Dywed rhai am danynt eu hunain, "*llychod* pechadurus," pan y gwnelai *llwch* yn llawn cystal; canys y mae llwch yn lluosog eisoes, ac onidê i ba beth yr arferir *llychyn* am un?

"*Ym*fawrygodd *ei hun*," medd un arall, yr hyn sydd hollol feius; canys, y mae "*ym*fawrygodd" yn ddigon heb "*ei hun*" yn nglyn ag ef; megis, y gwelir yn yr engraff ganlynol:—

Golchi, un yn golchi rhywbeth; *ym*olchi, un yn golchi ei hun.

*Teimladwy* yn lle teimladol. *Teimladwy* yw peth a ellir ei deimlo; *teimladol* yw peth yn teimlo.

Gwelwyd mewn nodyn at Ohebwyr yn un o'n Cyhoeddiadau misol, yn ddiweddar, yr ymadrodd canlynol:—

"Da fyddai pe gwelid mwy o ymdrech yn ein Gohebwyr i ateb gofyniadau; y mae llawer o honynt wedi dianc yn ddisylw y flwyddyn a aeth heibio; ond yr ydym yn hyderu na hanfoda yr esgeulusdra hwn mwyach yn yr ——, ac y cymerir dan sylw y rhai sydd yn *anatebadwy*;" hyny ydyw, yr atebir y gofyniadau hyny sy'n "*anatebadwy*," neu nad ellir eu hateb!

"*Cymaint*," medd rhai am lawer o bobl yn lle *cynifer*: y mae *cymaint* yn briodol am swm; megis, "Cymaint o fwn." "Cymaint o gig." "Cymaint o fara;" ond "Cynifer o anifeiliaid." "Cynifer o ddynion." "Cynifer o weithredoedd."

Bydd rhai yn dyweud "*hanffodol*" yn lle hanfodol; "*tra'd*" am traed; "*gwa'd*" am gwaed; "*o'n*" am

oen; "*gwahanu*" am gwânu; "*cyniweirfa*" am gyniweiriad, y rhai sydd hollol afreolaidd.

Cawn hefyd "cylle*th*" yn lle cyllell; "llyg*i*d" yn lle llygaid; "gwiale*m*" yn lle gwialen, ac "o*e*l" yn lle ol.

Y mae rhai yn swnio yr *ch* yn niwedd pob gair y byddo llafariad yn ei ddiweddu; megis, "Os ei di i'r bedd yn farw*ch* fe ddeui i fyny yn fyw*ch*!! Yn lle "Os ei i'r bedd yn farw fe ddeui i fyny yn fyw."

Gwelir yn fynych hefyd "*llefydd*" am *lleoedd* yn cael ei arfer, yr hyn sydd hollol feius; oblegid crïwr, neu *lef*-wr, sef, un yn llefain, yw *llefydd*, a manau yw lleoedd; ond, o bob ynfydrwydd yn y ffordd yma, nid oes dim eto a â tu draw i "*Peirch.*" am *Parchedigion!* Y mae hwn druan yn wrthun ac yn ddireswm. Y mae yn anhawdd gwybod yn mha le y cafwyd neb digon disynwyr i wneud arferiad o "*Peirch.*" y tro cyntaf; ond fe'i gwelir yn fynych iawn yn bresenol. Gwelsom O. B., yn cael ei arfer am Oed y Byd; D. S., am Dalier Sylw; O. Y., am Ol-ysgrif; a Rev., yn Saesoneg, am y gair *Reverend*, sef, talfyriad o hono; ac yr oeddym yn deall rhywbeth yn nghylch yr arwyddion uchod, ac yn golygu *Parch.*, yn dalfyriad o Parchedig; ond y mae "*Peirch.*," yn beth nad oes ei fath yn un cwr o'r greadigaeth. Gwelsom y geiriau *march*, meirch; *arch*, eirch, yn cael eu harfer; sef, y naill yn cael ei dreiglo o'r llall yn ol rheolau y Gymraeg, gyda y geiriau *Bardd*, Beirdd; *hardd*, heirdd; ond ni welsom y fath ddiddelwant *(nondescript)* a "*Peirch.*," yn un lle tu fewn i derfynau yr Iaith Gymreig? Nid oes i hwn unrhyw wreiddyn yn un man. Y mae yn wrthun i'w osod ar bapur. Rhaid mai rhyw hurtyn a'i dyfeisiodd ar y cyntaf, ac i argraffwyr ei arferu heb feddwl dim yn ei gylch a oedd iddo ystyr ai peidio. Dymunwn dranc-edigaeth buan iddo.

Gwelwyd rhywrai yn ceisio dwyn "*Cristiaid*" i arferiad yn lle Cristionogion, yr hyn oedd hollol ddireol; oblegid, ychwaneg nag un Crist yw *Cristiaid*, fel Cristiau, sef, gau-Gristiau, ac nid dilynwyr i Grist.

DIDOLNOD (¨)

Arferir Didolnod uwch ben llafariaid mewn gair i'r dyben o wahanu ei sillau oddiwrth eu gilydd; megis, annïalgarwch; sef, heb ddialgarwch, ac nid anialgarwch; sef, caru anial.

YMSANGAU ( ) [ ]

Ymsangau a arferir i gau allan air neu ran o ymadrodd a ellid ei hebgor heb niweidio y synwyr; eto nid ydyw yr hyn a geuir allan yn anfuddiol ei wybod bob amser; ond, yn gyffredin, teifl oleuni ar yr hyn a adroddir; megis, "Dywedodd un o weision yr archoffeiriad, (câr i'r hwn y tòrasai Pedr ei glust) oni welais i di gydag ef yn yr ardd?"

Arferir [ ] pan fydd yr ysgrifenydd, neu y cyfieithydd, yn taflu rhyw sylw eglurhäol i ganol ymadroddion awdwr; megis, "Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrthynt, Dinystriwch y deml hon, [sef, teml ei gorff] ac mewn tridiau y cyfodaf hi."

Nid ydyw ( ) mewn cymaint o arferiad ag y gwelwyd ef, gwneir mwy o ddefnydd o'r Rhagwahannod er peidio ei ddefnyddio, mewn llawer amgylchiad.

PRAWFNOD (" ")

Y Prawfnod, neu y Rhagwahandro, a osodir er dangos nad ydyw yr hyn a ysgrifenwyd rhyngddo, o waith yr awdwr ei hun; megis,

"Nid da gormod o ddim."

Pe byddid yn dewis rhoddi darn o waith awdwr heb ei enwi, gwnai defnyddiad y Prawfnod ryddhau yr ysgrifenydd oddiwrth y cyhuddiad o fod yn llênyspeilydd.

GWAHANRAN (¶)

Ni arferir Gwahanran, yn fynych, gan ysgrifenwyr y dyddiau hyn; a phan arferir ef gwneir hyny i nodi dechreuad corff o ymadrodd ar unrhyw achos. Arferir ef yn fynych yn y Bibl.

### CYSYLLTNOD (-)

Cysylltnod a arferir i gysylltu dau air gwahanol yn un ; megis, genedigaeth-fraint, ac nid genedigaeth fraint ; ysgafn-droed, ac nid ysgafn droed. Ni wneir cymaint o arferiad o'r nod hwn, yn bresenol, ag a wneid gynt, canys fe gysylltir llawer o eiriau hebddo ; megis, blaenllym, pwysfawr, a nwydwyllt. Mewn geiriau fel ufudd-dod, digywilydd-dra lle byddo *dd* a *d* yn nesaf i'w gilydd y mae llwyr angen am dano.

### DIFFYGLIN (——)

Arferir Diffyglin i ddangos fod yr awdwr yn gadael allan rhyw ran o'r ymadrodd, gan gymeryd yr hyn a fyddo addasaf i'w fater ; neu fod ychwaneg i'w ddyweud ar yr un pwnc, eithr fod yr awdwr mewn brys am fyned at beth arall ; megis,

> "—— Roi gynydd i'r eginau :——
> Llaw Dduw'n hyn ;——llaw Adda'n hau."

Hefyd arferir Diffyg linell pan adewir cydsain allan o air ; megis, T——s am Thomas ; neu pan adewir llafariaid allan o air ; megis, Ll—n—d—n am Llundain.

### GWALLNOD (‸)

Arferir Gwallnod pan adewir llythyren allan o air, neu air allan o linell mewn annghof neu gamgymeriad ; megis pe'r ysgrifenid,

> "Nid cloch wrth wddf ynfyd,"

ac wedi canfod y gwall ysgrifenir yr hyn oedd ddiffygiol fel hyn,

> rhaid
> "Nid‸cloch wrth wddf ynfyd."

Ni arferir y nod hwn un amser ond mewn ysgrifen.

### MYNEGFYS (☞)

Arferir y Mynegfys pan fydd eisiau sylw neillduol at fynegiad neu ymadrodd.

### YR UNYDD (⁀⁀)

Arferir yr Unydd i uno geiriau neu linellau yn nghyd, yn enwedigol mewn Prydyddiaeth; megis,

"Ni chaid diwedd } a'i hanesion."
O'i hynawsedd }

### SERNODAU (* * *)

Tair neu bedair o Sernodau gyda eu gilydd a ddengys fod rhywbeth wedi ei adael allan o'r ymadrodd blaenorol iddynt, ac na ddefnyddiodd yr awdwr ond yr hyn oedd yn ateb ei ddyben ef. Hefyd fe'u harferir pan fyddo gan awdwr ryw beth rhy erchyll i'w adrodd.

Y mae Nodau ereill a arferir gan awdwyr; sef, Nodau Cyfeiriol, y rhai a elwir, y Seren (*), y Bidog (†), y Ber (‡), y Rheol Ddwybig (‖), a'r Dosbarthnod (§), pan ewyllysiont gyfeirio y darllenydd at rhyw nodau eglurhäol ar ymyl neu odre y tudalen.

Arferir weithiau y mân lythyrenau, neu y rhifnodau, at hyn; megis, a b c d, neu, 1 2 3 4.

### Y PRIF LYTHYRENAU.

Arferid y Prif Lythyrenau, yn y llyfrau a argreffid tua chanol y Ganrif ddiweddaf, yn nechreuad pob Enw Cadarn. Fe'u harferir, yn bresenol, yn llawer cynilach.

1. Fe'u harferir yn nechreuad pob brawddeg, bydded fer neu hir.

2. Yn nechreuad pob llinell o Farddoniaeth.

3. Yn nechreuad pob difyniad a wneir o waith awdwyr ereill.

4. Yn nechreuad Enwau y Bod Goruchaf; megis, Arglwydd, Duw, Hollalluog, Goruchaf; hefyd y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

5. Yn nechreuad Enwau Priodol dynion a lleoedd; swyddau a chelfyddydau; dyddiau yr wythnos, misoedd, a'r tymorau.

6. Yn nechreuad pob Enw a ddeillio o Enw Priodol; megis, Cristionogion, Prydeiniaid, Cymry, Ffrancod.

7. Yn nechreuad pob Enw Gwan a ddeillio o Enwau Priodol; megis, Cristionogol, Prydeinaidd, Cymröaidd, Ffrancaidd.

8. Yn nechreuad pob gair pwysig; megis, y Diwygiad Protestanaidd, Canrif, Eglwys, Ymneillduwyr.

9. Arferir y Rhagenw I gyda llythyren benigol yn y Saesoneg; ac ni wyddir am un rheswm paham na arferir *mi* gydag M benigol ynddo yn Gymraeg, ac I wrthi ei hun.

10. Dodir y Cyffryngiad O mewn llythyren benigol.

Y dyben o arfer llythyrenau Italaidd yw nodi allan ryw air neu eiriau y dymunir cael sylw neillduol arnynt; a phan ddymunir cael mwy o sylw, arferir llythyrenau penigol. Arferir llythyrenau Italaidd hefyd er taflu diystyrwch ar berson; megis, pe dywedid y *Bardd* am un na fyddai yn fardd, neu y *Parchedig* am un na fyddai yn Barchedig.

---

## EGLURHAD AR DERFYNIADAU ENW GWAN.

Y mae amryw o derfyniadau yn perthyn i Enwau Gwan y dylid sylwi arnynt; sef, *aid*, *aidd*, *ain*, *awg*, *awl*, *awr*, *edig*, *fawr*, *gar*, *ig*, *lawn*, *in*, *lyd*, ac *us;* eithr nid ydyw yn briodol eu harferu yn ddiwahaniaeth; canys y mae gwahaniaeth yn bod rhyngddynt; megis,

*Aid*, a arferir pan fyddo peth yn orchuddiedig, neu yn llawn; megis, eur*aid* yn orchuddiedig gan aur; cod*aid* llonaid cod.

*Aidd*, yn tueddu at; tebyg; megis, dyn plentyn*aidd*, un yn tueddu at blentynrwydd, neu yn debyg i blentyn. Y mae y terfyniad hwn yn cael ei gamddefnyddio pan ddywedir "Cymdeithas Fibl*aidd*;" oblegid nid cymdeithas yn *tueddu at* Fibl, neu *un debyg i* Fibl a olygir; ond cymdeithas er dosbarthu y Bibl yn rhad. Ymddangosai yn chwith pe dywedid "Cymdeithas glaf*aidd*," am y gymdeithas i gynorthwyo y cleifion mewn afiechyd; y mae y cyntaf yr un mor anmhriodol. Byddai Bibl Gymdeithas yn well er cymaint mae yn ddynwared ar y Saesonaeg, Y Gymdeithas Fiblawl fyddai yn rheolaidd, fel y Gymdeithas Draethodawl, a'r Gymdeithas Genadawl.

*Ain*, a arwydda parhaus, llawn o; megis, Pryd*ain*, yr hyn a arwydda llawn o brydferthwch, fel mir*ain*.

*Awg*, a arwydda yn gyflawn o; megis, don*iawg*, deil*iawg;* dyn doniawg, dyn yn gyflawn o ddawn; coedwig ddeiliawg, un gyflawn o ddail.

*Awl*, a arwydda perthynol i; megis, Cymdeithas Draethod*awl;* hyny ydyw, cymdeithas berthynol i draethodau. Dinas*awl*, perthynol i ddinas. Cymrö*awl*, perthynol i Gymro.

*Awr*, a arwydda barhad fel *ain*; megis, geir*iawr*, siaradus.

*Edig*, a arwydda wedi ei gynysgaeddu âg; megis, dyn dysg*edig*, un wedi ei gynysgaeddu â dysg; dyn prof*edig*, un wedi ei brofi neu ei gynysgaeddu â phrofiad.

*Fawr*, a arwydda mawr; megis, drud*fawr*, treul*fawr*.

*Gar*, a arwydda ymroddedig at, chwanog; megis, dyn arian*gar;* sef, un ymroddedig at gael arian, neu chwanog i arian; dyn enllib*gar*, un chwanog i enllibio.

*Ig*, a arwydda perthynol i wlad neu le; megis, Gwyddel*ig*, gwled*ig*. Arwydda hefyd ansawdd, neu wedi ei gymysgu â, neu ei gysoddi gydag; megis, dyn cythreul*ig*, fel y dyn yn ngwlad y Gadareniaid. Dwfr gwenwyn*ig*.

*Lawn*, a arwydda llawn; megis, bodd*lawn*, dig*llawn*; hyny ydyw llawn boddineb; a llawn digofaint.

*In*, a arwydda yn gynwysedig o; megis, eur*in*; sef, yn gynwysedig o aur.

*Lyd*, o llyd, a arwydda ryw gyneddf neu ansawdd anweddus; megis, diog*lyd*, cybydd*lyd*. Anfynych yr arferir *lyd* i ddynodi teithi prydferth neu ddymunol.

*Us*, a arwydda cynwysedig yn; megis, bei*us*, mewn bai; helbul*us*, mewn helbul.

Gwelir yn ngwyneb yr engraffau uchod mor ofalus y dylid bod gyda therfyniadau Enwau Gwan, er eu cael i iawn drosglwyddaw meddwl yr areithydd a'r ysgrifenydd.

Arferir uno rhai o'r terfyniadau uchod weithiau, pan fyddo eisiau gwanychu neu leihau ystyr gyflawn gair. Nid ydyw yn briodol eu huno os na fydd lleihad mewn

golwg; megis, gyda y gair taiog-*aidd* am un lled daiog; dynol-*aidd* am un lled ddynol. Y mae rhai geiriau, pa fodd bynag, wedi cymeryd eu lle yn yr iaith gyda dau derfyniad heb i neb ameu dim yn nghylch eu hystyr; megis, santeidd-*iawl*, caredig-*awl*, cyffredin-*awl*, iachus-*awl*, trefnus-*awl*, gerwin-*awl*, a chlodfor-*us*; ond y mae yn debyg mai drwy beidio rhoi ystyriaeth ddyladwy i'r peth ar y cyntaf y gwnaed hyny, ac y cafodd y geiriau a ddynodwyd eu goddef mor ddirwgnachiad gan ein Gramadegwyr. Pan arferir hwy cofier fod ystyr wreiddiol y gair yn cael ei gymesuro.

### Y GWAHANIAETH SY RHWNG MAE A MAI, AC AC AG, &c.

Bydd ysgrifenwyr annghynefin yn ysgrifenu *mae* a *mai*, *ac* ac *ag*, *i'w* ac *yw*, heb olygu fod gwahaniaeth rhyngddynt. Os sylwir ychydig ar yr adnodau canlynol, gwelir y gwahaniaeth yn eglur.

Berf Ganolryw yw *mae;* megis, "Wele y *mae* efe yn gweddio."

Cysylltiad Cydiadol yw *mai;* megis, "Gwybyddwch *mai* yr Arglwydd sy Dduw."

Cysylltiad Cydiadol yw *ac;* megis, "*Ac* yr oedd yn y wlad hono fugeiliaid yn aros yn y maes, *ac* yn gwylio eu praidd liw nos."

Arddodyn yw *ag (with);* megis, "Pwy yw hwn sydd yn tywyllu cyngor *ag* ymadroddion heb wybodaeth?"

Rhagenw Arddodiadol ydyw *i'w;* megis, "Aeth hwn i waered *i'w* dŷ wedi ei gyfiawnhau yn fwy na'r llall."

Berf Ganolryw ydyw *yw;* megis, "Ti *yw* y Crist, Mab y Duw byw."

Os methir a deall y gwahaniaeth ar ol darllen yr engraffau uchod, troed y darllenydd i'r Bibl Seisnig, a gwelir y gwahaniaeth yn eglur yno.

### AC *a* NAC, AG *a* NAG.

Y mae *ac* yn Gysylltiad yr un fath ac *a*, ond fod *ac* yn cael ei arferu o flaen llafariad; megis, "Tân *ac*

awyr;" ac *a* o flaen cydseiniad; megis, "Bryn *a* mynydd." Y mae *nac* yn Gysylltiad yr un fath a *na*, ond fod *nac* yn cael ei arfer o flaen llafariad, ac yn ddilynol i negidydd arall; megis, "*Nid* oedd efe yn sefyll *nac* yn eistedd;" a *na* o flaen cydseiniad; megis, "*Nid* oedd yno brudd-der *na* llawenydd."

Geilw y Dr. O. Puw *ag* yn Gysylltiad. Y mae *ag* ac *a* yr un peth, ond fod un yn cael ei arfer o flaen llafariad a'r llall o flaen cydseiniad. Ni arferir yr un o'r Cysylltiaid hyn ond pan fyddo rhyw gystadledd yn cael ei arwyddo, neu unrhywiaeth, a phan byddo yn ateb i ryw air blaenorol; megis, "Y mae cariad *mor* gryf *ag* angau." Yr oedd yn dywydd *gystal ag* a allasid ddysgwyl." "Fe fwytäodd yr un peth *ag* ereill."

Y mae *nag* yn Gysylltiad yr un fath a *na*, ond fod y cyntaf yn cael ei arfer o flaen llafariad, a'r diweddaf o flaen cydseiniad; megis, "Y mae pres yn *rhatach nag* aur." "Y mae pres yn *feddalach na* dur."

Yn wyneb yr engraffau uchod gwelir fod *nag* a *na* yn cael eu harfer ar ol y Radd Gydmariaethol.

### EI *ac* EU, AI *ac* A'U.

Dylid cofio mai wrth son am un person yr arferir *ei ac a'i*; megis, "Dangosodd imi *ei* dŷ *a'i* ardd." Ac mai wrth son am amryw yr arferir *eu* ac *a'u*; megis "Dangosasant imi *eu* tai *a'u* gerddi."

Talfyriad yw *a'i* o *a ei*, unigol; ac *a'u* o *a eu*, lluosog, er mwyn ystwythder mewn ymadrodd.

### GEIRIAU CYDIADOL.

Ffurfir geiriau cydiadol o ranau ymadrodd gwahanol; megis, *di nerth*. *Di* sy Flaenddodyn Nacäol, a *nerth* sy Sylweddair; ond drwy eu cysylltu â'u gilydd, gwneir un Ansoddair o honynt; a gellir dywedyd, "dyn dinerth."

*Troedfainc* sydd wedi ei gyfansoddi o ddau Sylweddair neu Enw, sef, *troed* a *mainc*, a'r olaf yn meddiant y cyntaf, er dychwelyd yr *m* i *f;* a dylid ei seinio

troedfainc, ac nid *troed fainc;* canys heb eu cysylltu, a'u seinio mewn cysylltiad â'u gilydd, ni fedd y gair *troed* feddiant ar y gair *mainc* i droi yr *m* i *f;* yna o ganlyniad, os ar wahan y seinir hwynt, *troed mainc* a ddylid ddyweud; ond rhoddai hyny feddylddrych gwahanol i'r hyn a fwriedid; oblegid nid am *droed mainc*, ond am *fainc* i'r *troed* y byddir yn meddwl.

Gellir ffurfio math arall o eiriau cydiadol, y rhai a ellir eu seinio a'u hysgrifenu yn gysylltiedig neu yn wahanedig; megis, *priflys*, *glaswellt*, *lledchwith*, *noethlwm.* Os yn gysylltiedig yr ysgrifenir hwynt, felly y dylid eu seinio; neu os ar wahan, megis, *prif lys*, *glas wellt*, *lled chwith*, *noeth lwm*, felly y dylid eu seinio; ond y maent yn grynöach wedi eu cysylltu.

## CAM DARDDU GEIRIAU.

Peth y mae llawer wedi bradychu eu hanwybodaeth yn fawr drwyddo yw y dull a gymerant i ddangos tarddiad geiriau. Ceisiai un gwr ddadgymalu y gair *trugaredd*, a gwaeddai nerth eigion ei wddf, mai ei ystyr ydyw "*tri yn caru hedd:*"—nid ydym am geisio gwadu yr athrawiaeth a bregethai efe, ond prin y gallwn weled y pwnc yn y gair *trugaredd;* a'r un peth fuasai iddo, yn ein tyb ni, chwilio am dano yn yr adnod ganlynol, sef, "Deg ar hugain o gawgiau aur, mil o gawgiau arian, naw ar hugain o gyllyll," a cheisio ei dynu o'r gair *trugaredd;* oblegid deilliad y gair *trugaredd* sydd o *tru* a *câr;* sef, *caru tru*, neu *truan.*

Y gair *cyfamod* a'r gair *cyfiawn* a ddadgymelir yn rhyfedd hefyd. Byddir yn gwaeddi "*cyfa amod*," a "*cyfa iawn;*" gan fynegu mewn modd eglurhaol mai "peth *cyfa* yw y cyfamod;" ac mai "*cyfa* yw y *iawn*," ond gallai y cyfryw a ddywedant hyn arbed y drafferth a gymerant arnynt eu hunain pe yr ystyrient am funud darddiadau y geiriau; sef, mai o *cyd* ac *amod* y mae un yn tarddu, a'r llall o *cyd* ac *iawn.*

Mynai un o'r tylwyth yma, yn ddiweddar, mai "*cref ffydd*," sef, *ffydd gref*, yw ystyr y gair *crefydd.* Ond

barna y Dr. O. Puw fod y gair yn tarddu o *cref-ydd*, sef un yn *crefu*, neu yn *erfyn*, yr hyn sydd yn llawer mwy rhesymol; oblegid y mae son am un "gwan yn y ffydd," yn yr Epistol at y Rhufeiniaid, a hwnw yn meddu crefydd fel y dywedir.

### CAM ARFERIAD GEIRIAU.

Y mae llawer o gam arfer geiriau gan lefarwyr ac ysgrifenwyr ieuainc, y gwnai ychydig o ystyriaeth eu dodi ar eu gocheliad rhag hyny. Dywed rhai am danynt eu hunain, "*llychod* pechadurus," pan y gwnelai *llwch* yn llawn cystal; canys y mae llwch yn lluosog eisoes, ac onidê i ba beth yr arferir *llychyn* am un?

"*Ym*fawrygodd *ei hun*," medd un arall, yr hyn sydd hollol feius; canys, y mae "*ym*fawrygodd" yn ddigon heb "*ei hun*" yn nglyn ag ef; megis, y gwelir yn yr engraff ganlynol:—

Golchi, un yn golchi rhywbeth; *ym*olchi, un yn golchi ei hun.

*Teimladwy* yn lle teimladol. *Teimladwy* yw peth a ellir ei deimlo; *teimladol* yw peth yn teimlo.

Gwelwyd mewn nodyn at Ohebwyr yn un o'n Cyhoeddiadau misol, yn ddiweddar, yr ymadrodd canlynol:—

"Da fyddai pe gwelid mwy o ymdrech yn ein Gohebwyr i ateb gofyniadau; y mae llawer o honynt wedi dianc yn ddisylw y flwyddyn a aeth heibio; ond yr ydym yn hyderu na hanfoda yr esgeulusdra hwn mwyach yn yr ——, ac y cymerir dan sylw y rhai sydd yn *anatebadwy;*" hyny ydyw, yr atebir y gofyniadau hyny sy'n "*anatebadwy*," neu nad ellir eu hateb!

"*Cymaint*," medd rhai am lawer o bobl yn lle *cynifer:* y mae *cymaint* yn briodol am swm; megis, "Cymaint o fwn." "Cymaint o gig." "Cymaint o fara;" ond "Cynifer o anifeiliaid." "Cynifer o ddynion." "Cynifer o weithredoedd."

Bydd rhai yn dyweud "*hanffodol*" yn lle hanfodol; "*tra'd*" am traed; "*gwa'd*" am gwaed; "*o'n*" am

oen; "*gwahanu*" am gwânu; "*cyniweirfa*" am gyniweiriad, y rhai sydd hollol afreolaidd.

Cawn hefyd "cylle*th*" yn lle cyllell; "llyg*i*d" yn lle llygaid; "gwiale*m*" yn lle gwialen, ac "o*e*l" yn lle ol.

Y mae rhai yn swnio yr *ch* yn niwedd pob gair y byddo llafariad yn ei ddiweddu; megis, "Os ei di i'r bedd yn farw*ch* fe ddeui i fyny yn fyw*ch*!! Yn lle "Os ei i'r bedd yn farw fe ddeui i fyny yn fyw."

Gwelir yn fynych hefyd "*llefydd*" am *lleoedd* yn cael ei arfer, yr hyn sydd hollol feius; oblegid crïwr, neu *lef*-wr, sef, un yn llefain, yw *llefydd*, a manau yw lleoedd; ond, o bob ynfydrwydd yn y ffordd yma, nid oes dim eto a â tu draw i "*Peirch.*" am *Parchedigion!* Y mae hwn druan yn wrthun ac yn ddireswm. Y mae yn anhawdd gwybod yn mha le y cafwyd neb digon disynwyr i wneud arferiad o "*Peirch.*" y tro cyntaf; ond fe'i gwelir yn fynych iawn yn bresenol. Gwelsom O. B., yn cael ei arfer am Oed y Byd; D. S., am Dalier Sylw; O. Y., am Ol-ysgrif; a Rev., yn Saesoneg, am y gair *Reverend*, sef, talfyriad o hono; ac yr oeddym yn deall rhywbeth yn nghylch yr arwyddion uchod, ac yn golygu *Parch.*, yn dalfyriad o Parchedig; ond y mae "*Peirch.*," yn beth nad oes ei fath yn un cwr o'r greadigaeth. Gwelsom y geiriau *march*, meirch; *arch*, eirch, yn cael eu harfer; sef, y naill yn cael ei dreiglo o'r llall yn ol rheolau y Gymraeg, gyda y geiriau *Bardd*, Beirdd; *hardd*, heirdd; ond ni welsom y fath ddiddelwant *(nondescript)* a "*Peirch.*," yn un lle tu fewn i derfynau yr Iaith Gymreig? Nid oes i hwn unrhyw wreiddyn yn un man. Y mae yn wrthun i'w osod ar bapur. Rhaid mai rhyw hurtyn a'i dyfeisiodd ar y cyntaf, ac i argraffwyr ei arferu heb feddwl dim yn ei gylch a oedd iddo ystyr ai peidio. Dymunwn dranc-edigaeth buan iddo.

Gwelwyd rhywrai yn ceisio dwyn "*Cristiaid*" i arferiad yn lle Cristionogion, yr hyn oedd hollol ddireol; oblegid, ychwaneg nag un Crist yw *Cristiaid*, fel Cristiau, sef, gau-Gristiau, ac nid dilynwyr i Grist.

## Y LLYTHYRAETH NEU YR ORGRAFF GYMREIG.

Arwyddion seiniau yw llythyrenau, a'r arwyddion hyny wedi eu gosod wrth eu gilydd yn eiriau rheolaidd sydd yn cyfansoddi iaith. Mwyaf syml, eglur, a llithrig y byddo iaith, hawsaf fydd ei dysgu, a mwyaf o hyfrydwch a geir wrth ei darllen. Nid oes unrhyw wahaniaeth rhwng Orgraff hên a diweddar pan lefarir, oblegid y mae ffurf y geiriau o'r golwg y pryd hwnw. Mater o ddadl ar bapur yw pa un ai ychydig ai llawer o lythyrenau a ddylid arfer. Os gellir cyraedd y dyben gydag ychydig o lythyrenau, i ba beth yr arferir llawer? Nid ydyw ysgrifenydd y llaw fer yn defnyddio rhagor o nodau nag a'i galluoga i gadw y meddylddrychau a glywo ar gof, paham, ynte, y gesyd ysgrifenydd y llaw hir lythyrenau i lawr na fydd byth alwad am eu gwasanaeth? Os gall un awdwr wneud ei bwnc mor ddealladwy gydag ychydig o lythyrenau, pa beth y mae yr hwn a arfero lawer yn ei enill heblaw trafferth afreidiol iddo ei hun?

Y mae yr ysbryd o gadw yr hên Orgraff yn fyw, yn tarddu o'r un fan a'r ysbryd o gadw pob hên sefydliadau yn fyw, yn hytrach na myned yn mlaen gyda'r oes. Rhagddo y mae y byd yn myned gyda phob peth. Y mae ffyrdd newydd yn cael eu dyfeisio yn barhaus i leihau llafur. Y mae diwygiadau mawrion wedi cymeryd lle eisoes yn yr Orgraff Gymreig, ac ni orphwysir, y mae yn debygol, nes y cyrhaeddir unffurfiaeth yn hyn. Yn sefyllfa bresenol pethau, y mae yn bur anhawdd i'r Efrydydd ieuanc wybod ar ba law i droi, nid yn unig o herwydd fod dadl yn nghylch cydseiniaid dyblyg, ond oblegid ysgrifenir geiriau yn wahanol o ran llafariaid hefyd; megis, y gwelir wrth y rhestr ganlynol:—

| | |
|---|---|
| araeth | araith |
| boreu } borau } | bore |
| buddugol | byddygol |
| cyfarwyddiadur | cyfarwyddiadyr |

| | |
|---|---|
| chwara<br>chwarae<br>chwareu | chware |
| deall | dyall |
| dieithr | dyeithr |
| dug | dyg |
| eraill | ereill |
| fynu | fyny |
| graean | graian |
| gwybedyn | gwibedyn |
| gwylio | gwilio |
| megis | megys |
| munud<br>munyd | mynyd |
| papur | papyr |
| pumtheg | pymtheg |
| pluf | plyf |
| peru | pery |
| teru | tery |

Nid oes fodd i'r ddau ddull uchod fod yn gywir. Onid gwell fyddai ysgrifenu y geiriau blaenorol, a phob geiriau ereill cyffelyb, yn union megis y seinir hwynt? Os *u* a arferir mewn gair, onid priodol iddi gael sain *u* yn mhob sefyllfa? Neu os *y*, oni ddylai hono gadw yr un swn yn mhob man? Gan mai gwne*u*d, dywe*u*d, budd*u*gol, fyn*u*, pl*u*f, y seinir y geiriau hyn, i ba beth y llusgir *y* iddynt? Oni fyddai yn ddigon buan dyfod â'r *y* i fewn pan fyddai galwad am ei gwasanaeth; megis, yn h*y*sb*y*sodd, d*y*godd, ll*y*th*y*rodd, d*yry*sodd? Paham nad ellid ysgrifenu y geiriau hyn yn hysb*u*s, d*u*g, llyth*u*r, dyr*u*s, yn eu sefyllfa wreiddiol, gan mai sain *u* sydd yn eu diwedd?

Y mae y dull o arfer llythyrenau megis y gwneir, yn debyg i ddull rhieni ffol gyda'u plant; fe'u henwir ganddynt ar y cyntaf yn Robert, Thomas, John, a William; ond troir hwy yn fuan iawn i ryw enwau ereill. Os na arferir yr enwau a roddir arnynt ar y cyntaf, pa ddyben dodi enwau arnynt? Y mae y peth yn ymddangos fel chware plant. Pe buasai yr oes wedi dyfod yn ddigon addfed, arferasai yr awdwr y dull a ganlyn drwy ei lyfr oll; megis, d*u*n, d*u*dd, d*u*sg, br*u*n, ll*u*n, t*u*n, llyth*u*r, myf*u*r, ceff*u*l, merl*u*n, a myn*u*dd; ac

ni chawsai yr *y* byth ddangos ei gwyneb ond pan fuasai galwad am ei gwasanaeth; megis, yn y geiriau d*y*nion, d*y*ddiau, d*y*sgu, br*y*niau, ll*y*nau, t*y*nach, ll*y*th*y*rau, m*y*f*y*rdod, ceff*y*lau, merl*y*nod, a m*y*n*y*ddoedd. Y mae efe wedi arfer rhai geiriau yn y dull y seinir hwynt, sef, y geiriau *dyweud*, *chware*, *megis*, ac *oblegid*.

Peth pwysig mewn Orgraff hefyd yw gwybod y pryd i arfer *di* a *dy* fel Blaenddodiaid; oblegid y mae un yn *di*-noethi, sef, yn gwisgo am beth, pan y dylai ei *ddy*-noethi, sef, ei wneud yn noeth, ac yn amlwg. Y llall yn *di*-benu, sef, yn tori pen, pan na feddylia ond am ddwyn i ben. Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng y ddau Flaenddodyn hyn, a dylid gofalu am i'r *di* gael ei arfer fel Negidydd, a'r *dy* gael ei ddefnyddio yn Flaenddodyn cadarnhäol; megis, *di*-oddef am beidio goddef, a *dy*-oddef am oddef.

Y ddadl fwyaf gyda golwg ar yr Orgraff sydd yn nghylch y Cydseiniaid dyblyg. Y mae llawer wedi cael ei ddyweud dros ac yn erbyn hyn; ac yn mysg pethau rhyfedd ereill a ddywedir, haera un awdwr y gwna eu bwrw heibio hyllu yr iaith—dwyn ymraniad (*schism*) i fewn—a gwneud drwg i'r Eglwys Sefydledig, drwy aflonyddu gweithrediad addoliadol y meddwl wrth weled llai o gydseiniaid yn y Llyfr Gweddi Cyffredin ac yn y Bibl! Y mae yn anhawdd credu y dywedasai neb beth mor ffol a hyn, ond y mae wedi cael ei ddyweud*; a dygir y *Mavor's Spelling Book* yn yr iaith Seisnig, yn mlaen gan yr un awdwr i brofi y dylid arfer y cydseiniaid dyblyg; sef,

"All words of more than one syllable ending in a consonant, and accented on the last syllable, double that consonant in derivatives, as commit, committee, compel, compelled."

Nid oes dim a wnelom ni â rheolau iaith y Saeson na'i Horgraff yn y Gymraeg, o herwydd nid oes un berthynas na thebygrwydd rhwng y ddwy iaith a'u gilydd. Pe buasai Orgraff y cydseiniaid dyblyg yn han-

* "Reasons for rejecting the Welsh Orthography that is proposed. Page 95.

fodol i'r Gymraeg, buasai yn gweddu ini fod yn arafach wrth gynyg gwelliant ynddi; ond nid felly y mae y peth yn bod. Y mae hyd yn nod [Dr.] Davies ei hunan, yn ol Le Gonidec, "wedi cynllunio ei Orgraff yn ol yr Orgraff Seisnig, yr hyn sydd yn tueddu i guddio, neu hagru y rhan fwyaf o wreiddiau yr Iaith. Y mae ei gariad at lythyrenau dyblyg neu ddiangenrhaid agos wedi gwneud y Celto-Breton yn annabodadwy yn ei Eirlyfr." *

Nid ymddengys fod cydseiniaid dyblyg yn cael eu harfer ychwaith yn Nghoelbren y Beirdd. Edrycha hono yn syml dros ben gyda'r *a* fyr a'r *â* hir; *e* fyr ac *ê* hir; *o* fyr ac *ô* hir; *w* fyr ac *ŵ* hir; *y* fyr ac *ŷ* hir. Y mae yn yr egwyddor hono arwyddion penodol hefyd am *ch*, *ng*, *th*, *ll*, &c., yn lle gorlwytho yr Iaith megis y gwneir gyda'r llythyrenau Rhufeinig dyblyg. Dechreuwyd arferu *d* gydag ysmotyn bychan dani yn lle *dd*; ac *l* gydag ysmotyn bychan dani yn lle *ll*, gan William Salisbury a H. Llwyd; ond yn nheyrnasiad Elizabeth, defnyddiodd Dr. J. Dafydd Rhys, Dr. Dafydd Powell, ac ereill *dh* ac *th*, y rhai a fwriwyd o arferiad gan Dr. Davies, a dygwyd *dd*, *ll*, *ch*, *ngh*, a'r holl lythyrenau heb eu heisiau sydd yn bresenol mewn arferiad i'r Iaith,† yr hyn sydd wedi ei hanharddu a'i thrwsgleiddiaw yn ddirfawr.‡ Ac yr ydym yn gweled fod cyfnewidiad mawr wedi ei wneud yn Orgraff y Llyfr Gweddi Cyffredin a'r Ysgrythyr Lân, ragor yr oedd, cyn dyddiau y Dr. Davies.

Mewn argraffiad o'r Llyfr Gweddi Cyffredin a ddaeth allan yn y flwyddyn 1586, y mae yr adnod gyntaf o'r Salm gyntaf fel hyn,

"Gwyn ei vyd y gwr ny rodiawdd yn cyccor yr andewolion, ac ny savodd yn ffordd pechaturiei, ac nyd eisteddawdd yn eisteddfa yr ei gwatworus."

* See Le Gonidec's Advertisement to his Breton Dictionary.

† Caerfallwch.

‡ Dywed Dr. O. Puw yn ei Eiriadur, "As the Welsh Language is not written in its proper Orthography, there are some double letters used in this work, for representing single sounds."

Ac mewn hên gyfieithad o'r bennod gyntaf o Genesis cawn *yspryt* yn lle ysbryd; *bot* yn lle bod; *dyfredd* yn lle dyfroedd; *kenhedlaeth* yn lle cenedlaeth; *rryw* yn lle ryw; *rrywiogaeth* yn lle rywogaeth; *enait* yn lle enaid; *ehediat* yn lle ehediaid; a *bopeth* yn lle bobpeth. Ac yn Nhestament William Salisbury cawn ymadrodd fel hyn,

"A phan welawdd ef y dyrva ef a escenawdd i'r monyth: a gwedy iddaw eistedd, y deuth eu ddiscipulon attaw."

Ceir yn llyfr Du Caerfyrddin, llawysgrif o ddechreuad y ddeuddegfed ganrif, Orgraff fel hyn,

"Dricun i mynit avonit igniw
Gulichid lliw llaur trevit
Neut gueilgi gveled ir elvit."

Yr hyn a osodir allan mewn Orgraff ddiweddarach fel y canlyn,

"Drychin y mynydd afonydd yn ngnif
Gwlychid llif llawr trefydd
Neud gweilgi gweled yr elfydd."

Yn nechreu y drydedd ganrif ar ddeg dywedid,

"Yn yr olwyn ymay tri pheth. both ac adaned a achamegev ac vn olwyn yw."

Mewn Orgraff ddiweddarach,

"Yn yr olwyn y mae tri pheth; both, ac adanedd a chamegau; ac un olwyn yw."

Mewn llawysgrif o hanes Breninoedd Prydain tua dechreu y bedwaredd ganrif ar ddeg dywedid,

"Ediuar yv gennyu dala yth erbyn ti pan vu yr ymlad rot a Chaswallaun an brenin ni."

Hyny ydyw,

"Edifar yw genyf ddala i'th erbyn di, pan fu yr ymladd rhyngot â Chaswallawn ein brenin ni."

Mewn llyfr a ysgrifenwyd yn 1346, dywedid,

"Lyma synhvyr euegyl Ieuan ebostol, hervyd ydyall

ar synhvyr arodes duv yr neb ae troes o ladin ygkymraec."

Hyny ydyw,

"Llyma synwyr efengyl Ieuan ebostol, herwydd y deall a'r synwyr a roddes Duw i'r neb a'i troes o Ladin yn Gymraeg."*

Wrth gydmaru yr Orgraffau uchod â'r Orgraffau a arferir yn bresenol, canfyddir mai nid peth newydd yw ymgais at gael diwygiad; ac nid oes mwy o reswm dros adael yr Orgraff Gymreig yn y sefyllfa gymysglyd a gwrthun sydd arni yn bresenol, nag oedd dros ei gadael yn y cyflwr yr oedd ynddo cyn dyddiau William Salisbury. Y cwbl a geisir drwy y diwygiad a gynygir yn yr oes hon ydyw rhoddi gwaredigaeth bellach i'r Iaith, os gallwn, oddiwrth lythyrenau segur sydd yn ei beichio ac yn ei hagru.

Nid ydyw gwrthwynebiad yr awdwr i'r cydseiniaid dyblyg y fath nes y mae yn gweled anmhriodoldeb yn eu harfer lle byddo perygl camgymeryd meddwl ysgrifenydd; megis, mewn geiriau lle byddo y Negidydd *an*, yr hwn sydd yn rhan o air, yn cael ei arfer; fel yn y geiriau *an*-noeth, o *an* a *doeth; an*-nhrefn, o *an* a *trefn; an*-newr, o *an* a *dewr;* neu, mewn geiriau megis *an*-nadl, sef, heb *ddadl,* ac nid anadl einioes; *cyn*-nelw, sef, *delw* wreiddiol, ac nid *cyn*elw, sef elw gwreiddiol; canys parai tynu yr *n* o'r geiriau a grybwyllwyd ddyryswch yn meddwl y darllenydd. Y mae dwy gydsain yn angenrheidiol hefyd mewn geiriau fel y canlyn,—bannod, gwrryw, pennoeth, pennod, prif-fardd, mammaeth; oblegid ban nod, gwr ryw, pen noeth, pen nod, prif fardd, mam maeth, ydynt. Ac ni achwynai yr awdwr pe dodid dwy lefariad yn y geiriau canlynol hefyd; sef, addaw-wr, darllaw-wr, gwrandaw-wr, lliw-wr, llaw-waith, fel y gweler eu hystyr ar unwaith; ond paham y dodir dwy gydsain wrth ochr eu gilydd, mewn geiriau nad oes dim yn galw am hyny, sydd iddo ef yn ddirgelwch.

* Gwel Dr. O. Puw.

Ysgrifena rhai accen, atteb, amlyccach, bann, canndann, enwoccaf, ffonn, llymm, pennaeth, rhesymmu, trymmed; ac i wneud y darlun yn gyflawn cawn ym mhob, yng nghyd, ïe, yng Hrist gan rai! Ond er cymaint yw gwresogfrydedd pleidwyr yr hên ddull o ysgrifenu dros y cydseiniaid dyblyg, ysgrifenant anghywir ac anghyson heb ond un *n* ynddynt; pan y dylent, er bod yn gyson â hwy eu hunain, eu hysgrifenu a*n*nghywir ac a*n*nghyson. Y mae hyn yn dangos nad ydyw y peth wedi tarddu o egwyddor ar y cyntaf, mwy na'r dull oedd mewn bri cyn dyddiau y Dr. Davies; canys yr ydym yn cael yn y difyniadau a wnaethom o'r Llyfr Gweddi Gyffredin a'r Ysgrythyr Lân, *v* ac *f*, *awdd* ac *odd*.

Gwelsom mewn gwaith, yn ddiweddar, haeriadau, "Nad all y rhai sy'n sefyll ar dir *sainyddiaeth* weithio allan eu trefniant yn mhob amgylchiad," ac fod eu cyfundraith "yn gloff, hanerog, a hunan-ddinystriol," ac o'r herwydd y dylent ei gadael o'r neilldu. Y mae y neb a ddywed hyny yn cytuno â'r dosbarth a gollfernir agos yn mhob peth oddieithr yn y geiriau y mae y *t* yn cael ei throi i *n;* megis yn meddiant, meddianu; moliant, molianu; doda yr ysgrifenydd hwnw ddwy *n* yn y geiriau hyny, ac yn y gair *canfed;* ond, efallai, pe sylwem ychydig, y caem weled nad ydyw yr annghysondeb i gyd yn perthyn i'r dosbarth a gollfernir; oblegid yn yr un gwaith ag y beia y gwr hwnw y trefniant *sainyddol*, fel y geilw ef, cawn annghyffredin gyda dwy *n*, ac annghywir a chwanog gydag un; y rhai a ddylasent fod, er dilyn trefniant yr awdwr ei hun yn gyson, yn a*n*nghywir, ac yn chwan*n*og. Yn yr un gwaith hefyd gwelir a*t*tal nodi ac atalnodi; darf*u*m ac aeth*y*m; pwn*g*c a pwnc; gwrth*dd*rychol a gwrthrychol; a cynulleidfa gyda dwy *n*, er y dywed yr awdwr nad oes angen dwy lle byddo *cyn* yn Flaenddodyn.

Ceir *cymorth* gydag *h* ynddo, er yr ysgrifenir cymell heb yr un; ond ni roddir rheswm dros hyny. Dodir *h* hefyd mewn *cynorthwy*, *brenines*, *cyraedd*, *cymwys*,

*cynarol*, er yr ysgrifenir cangenau, cynwysiad, ffynonau, cenedloedd, heb *h;* y rhai sy'n sefyll mewn cymaint o angen chwernsain a'r lleill; a pheth sydd yn fwy synfawr na'r cwbl, ni ddodir ond un *r* yn y gair *gwr-ryw*, a'r rheswm a roddir dros hyny yw fod arfer gwlad yn ei gyfreithloni; ond y mae *ynill* wedi cael dwy *n*, a *dilyn* wedi cael *y* yn ei ddechreu yn lle *i*, er mai *canlyn* a olygir, ac nid *glynu* fel y bydd paent yn glynu wrth ddillad!

Yn yr awdwr arall a ddifynasom, yr hwn sydd yn glynu yn dŷn wrth yr hên drefniant, dywedir, os na arferir dwy gydsain, na fydd yn alluadwy gwahaniaethu rhwng *canu* a cânu; *geni* a gêni; *honi* a hôni; *tonau* a tônau; *tanau* a tânau, ac eto cawn yn ngwaith yr un gwr, wrth ddadleu dros adael y Negidydd *di* yn *di* yn mhob amgylchiad yn ddiwahaniaeth, haeriad y deallai y darllenwyr y gair y byddo *di* yn nglyn ag ef wrth ei sefyllfa yn y frawddeg, ac y gwyddid pa bryd y byddai ystyr negyddol neu gadarnhäol iddo heb unrhyw drafferth na phetrusder; a'r rheswm sy gan yr awdwr yma dros ei haeriad yw fod yr *a* Groeg, a'r *ex*, *de*, ac *in* Lladin yn cyflawni dwy swydd bob un!

Y ffaith ydyw ni welsom ni na chysondeb na rheswm digonol yn cael ei ddwyn erioed dros yr hên drefniant o ysgrifenu.

Un wrthddadl a ddygir dros arfer y cydseiniaid dyblyg yw, nad oes fodd cadw yr acen heb hyny mewn geiriau fel *camu*, *tori;* os ydyw hyny yn wir, paham na arferir cydseiniaid dyblyg mewn geiriau ereill, megis, *achos*, *allan*, *colli*, *tolli*, a'u hysgrifenu *achchos*, *allllan*, *collli*, *tollli;* ond digon prin y gallwn gredu fod amddiffynwyr y drefn yma yn credu eu hathrawiaeth eu hunain; oblegid nid ydynt yn arfer dwy gydsain byth lle byddo *ch*, *dd*, *ff*, *ll* ac *ng* mewn gair; ac hefyd nid ar gydseiniaid y dodir yr acen un amser, ond ar y llafariaid; megis, *can*, cân; *glan*, glân; *man*, mân; *tan*, tân; *ton*, tôn.

Ni fedd unrhyw gydsain ond un sain; ac nid ellir

gwneud i bump o honynt mewn gair cyfansawdd, mwy nag un, ychwanegu dim at swn yr un hono; er engraff, pa faint mwy o sain acenol sydd yn y gair *camu* yn y dull canlynol gyda phum *m*, megis, *cammmmmu* na phe yr ysgrifenid ef gydag un? Ar ol swnio yr *m* gyntaf, yr ydis yn colli gafael ar y lleill yn hollol; ond pe yr ysgrifenid y gair fel hyn, *camu-mu-mu-mu-mu*, byddai y swn yn wahanol. Gellir mynegu yr un peth am yr holl eiriau yr arferir y cydseiniaid dyblyg ynddynt er cadw yr acen; megis, *tori*, *tynu*, *gyru*.

Gwrthddadl arall a ddygir yw, y collir gwreiddyn y gair drwy beidio ag arfer y cydseiniaid dyblyg; os ydyw hyny yn wir eto, pa sut na chollid y gwreiddiau wrth ysgrifenu *anghywir*, yn lle *an*nghywir; *amharod*, yn lle *an*mharod; *ynghyd*, yn lle *yn* nghyd; *ymron*, yn lle *yn* mron, ïe, ac *yng* Hrist? canys yr ydym yn cyfarfod âg "ym mlaen," "ym mherthynas," "ynghyd," "yng nghyflawnder," ac "anghyffredin," yn ngweithion y rhai mwyaf gwresog dros gydseiniaid dyblyg er cadw y gwreiddiau mewn golwg; os oes perygl colli y gwraidd drwy ysgrifenu meddiannau yn *meddianau;* chwannog yn *chwanog*, onid oes cymaint o berygl wrth ysgrifenu yr Arddodyn *yn* yn *y*, *yng*, *ym;* ac *an* yn *a*, *am* ac *ang* yn y dull cymysglyd a nodwyd? Bu rhai o'r bobl sydd yn sôn llawer am wreiddiau geiriau mor blentynaidd a cheisio rhoi ystyr neillduol i bob llythyren yn yr Iaith; ond annghofiasant fynegu i ni o ba le y cawsant yr awdurdod hon. Nid ydyw llythyrenau ond arwyddion syml o sŵn, ac nid ydyw geiriau ond effaith cytundeb cenedl. Pe cytunasid ar y dechreu, ni fuasai waeth rhoi *du* i arwyddo *gwyn*, a *gwyn* i arwyddo *du*, nag fel y maent; canys nid all fod dim yn y llythyrenau *d-u* i arwyddo peth tywyll mwy na pheth goleu; na dim yn y llythyrenau *g-w-y-n* i arwyddo peth goleu mwy na pheth tywyll; ac nid oes genym ddim i'w ddyweud dros yr arferiad, ond mai felly y rhyngodd bodd i'n hynafiaid i'r peth fod. Y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng sŵn du a *black;* a

rhwng sŵn gwyn a *white*, er mai yr un peth a arwyddant. Oni welir hyn yn ffurfiad geiriau newyddion yn ein hiaith ni? Os na chytunir arnynt, ni ddeuant byth i arferiad; ac ni fydd unrhyw feddylddrych yn nglyn â hwynt mwy nag sydd yn nglyn wrth frefiad yr afr. Er engraff, pe dygid y geiriau canlynol ger bron, sef, *taflgant, prwydal, mynwed, chwegfaeth*, pa ddewin a allai gael allan eu hystyr heblaw eu dyfeisiwr? Ond os dodwn hwynt ar ol y geiriau Seisnig y penodwyd hwynt i ddangos eu hystyr, glyna meddyliau wrthynt; megis, "*Coit*, taflgant, coeten." "*Commission*, prwydal." "*Company*, mynwed." "*Confect*, chwegfaeth."

Y mae geiriau hefyd yn newid eu hystyr mewn amser, nes y mae eu gwreiddiau yn dyfod yn bethau amheus dros ben. Er engraff, gelwir y peth a ddeil y ganwyll yn *ganwyllbren*, pa un bynag ai pren, ai pres, ai haiarn, ai arian, ai aur, fyddo ei ddefnydd. Gelwid dyn oddiar y cyffiniau gynt yn *sawdwr;* yn bresenol, milwr a ddeallir yn fwyaf cyffredin wrth y gair. Ystyr wreiddiol y gair *alltud* yw un o dir arall; ond y mae yn awr yn golygu un a anfonir o'r wlad am droseddu y gyfraith. Dywed y Dr. Watts fod *knave* yn ei ystyr gyntefig yn arwyddo gwas diwyd; a *vilain* yn arwyddo tenant iselach i Arglwydd y Faenor; ond yn bresenol y mae y ddau air yma yn golygu rhyw ddiffeithwyr. Meddylid wrth y gair *cerdd* unwaith gân ddifrifol yn gystal ag un lai pwysig; a gelwid Cân y Caniadau yn "Gerdd y Cerddi," ond, yn bresenol fe arferir y gair agos bob amser am gân wamal. Y mae canoedd o eiriau nad ydyw gwybod eu gwreiddiau yn taflu un math o oleuni ar eu hystyr; er engraff, ysgrifenir y gair *ameu* yn *ammhau* gan rai, er cadw ei wraidd meddant yn y golwg, yr hwn yw *pau;* y *p* yn *pau* wedi ei throi yn *mh*, yn ol y rheol *porth* fy *mhorth.* Ond pa beth yw *pau?* Arferir ef am beth fyddo a pharhad ynddo, neu helaethiad neu ymdaeniad o amgylch yn perthyn iddo; peth fyddo yn cynwys neu yn cyfyngu; hefyd gwlad drigianol; neu le y mae y

llwythau yn ymdaenu oddiamgylch, ac yr atelir hwy yn eu gyrfa; ond pa berthynas sy rhwng pau a *doubt*, amheuaeth, petrusder, yr hyn yw ystyr briodol y gair *ameu?* Ysgrifenir ameg, [*allegory, parable*], a dwy *m* ynddo am ei fod yn tarddu o *meg* meddir; ond beth yw *meg?* Y mae *meg* yn tarddu o *my-eg*, yr hyn a arwydda peth a gymer i fewn, neu a gynwys; *meg* hefyd yw llyfethair. "Y feg fawr, *a large old fetter kept at Dinas Mawddwy*," medd Dr. O. Pugh. Pa beth yw yr *am* a arferir yn y geiriau hyn? Ystyr am yw *round, about;* arwydda cylch hefyd; am ben, cymysgedig gyda; am, *for*, *because*.

Ysgrifenir y gair meddianu â dwy *n* ynddo, am ei fod yn tarddu o *meddiant*, a'r *t* yn dychwelyd i *n*, megis, yn *tad* fy *nhad;* ond a fydd rhyw anhawsder i gael hyd i'r gwraidd os tynir un o'r ddwy *n* ymaith? Na fydd, tra byddo y gair *meddu* a *meddianu* yn arwyddo mor agos yr un peth. Boddlonir ar un *n* yn y gair *diflaniad* a *diflanu*, er fod hwnw yn tarddu o'r gair *diflant;* ac un *n* yn y gair *chwanog*, er fod hwnw yn tarddu o'r gair *chwant*. Arferir dwy *m* yn y gair *cymod;* dwy *n* yn y gair *cynal;* a dwy *t* yn y gair *cytundeb*, er mai yr un ystyr sydd i *cy*, *cyd*, *cyf*, *cym*, *cyn*, *cyt*, yn ol Dr. O. Pugh. Y mae *cy* yn gorfod gwneud y tro mewn llawer o eriau; megis, *cymath*, *cyni*, *cysain*, *cywir;* gan hyny paham y mae yn rhaid arfer cydseiniaid dyblyg mewn rhai amgylchiadau? Ni chyll dim o ystyr *ameu*, *ameg*, *meddianu*, *cymod*, *cynal*, *cytundeb*, gydag un gydsain mwy nâ gyda dwy; ac y maent yn llawer rhwyddach i ysgrifenydd ac argraffydd heb gydseiniaid dyblyg. Y mae llawer o dywyllwch, medd un awdwr, yn aros ar wreiddiau a ystyrir yn Gymreig. "Tybia Dr. O. Pugh, fod y gair *plad*, peth gwastad, *plate*, yn tarddu o *llad*, gyda *py* yn Rhagddodyn iddo. Yr eglurhad a rydd efe ar *llad* yw peth a roddir, rhodd, pethau da; a *py*, peth mewnol, peth a gynwysir. Ni ddadleuir nad Rhagddodyn yw y *p* yn *plad*, ond honir fod llad yr un peth a *lled*, yn cyd-daro â'r Lladin *latus;* y ddau yn

tarddu o wreiddyn cyffredin yn arwyddo *lledu*. Barna y Doethawr fod dug wedi ei ffurfio o *ug*, dros; yr hyn nad all fod yn wir os nad ydyw y Lladin *dux*, *duco* yn eiriau cyfansawdd. Tyn ef dur o *ur*, eithaf, dros, ond yn ddiddadl tardda hwn o'r Lladin *durus*. Dywed y Doethawr fod *par* yn arwyddo peth agos, cyflwr o barotöad, pâr, cydymaith, cymar, cyfeisor, o *py* ac *ar*; *py* yn arwyddo yr hyn a ddywedwyd o'r blaen; ac *ar* yn air o amryw ystyriaethau; megis, *ar*warthaf, *ar*wyneb, gwyneb, [*surface*]; ond nid oes un ddadl nad o'r Lladin *paro*, parotoi y mae yn tarddu, *par*, cyfeisor, cyfartal: gwreiddiau teulu lluosog iawn o eiriau nid yn unig yn ieithoedd Japhetaidd Ewrop, ond yn ieithoedd Shemitaidd Asia: y mae yn ddiameu nad ydyw yn air Cymreig cyfanswdd, ac nid oes un sail i dybio nad un annghyfansawdd ydyw. Pe buasai awdwr dysgedig y Geirlyfr Cymreig yn estyn ei olrheiniadau i amryw ieithoedd ereill, ac yn cydmaru y gwreiddiau un-sill ynddynt gyda eu gilydd, y mae yn ddiau genym y ffurfiasai farn wahanol am eu gwraidd, yr ydym ni yn hollol argyhoeddedig nad ydyw llawer o'r geiriau a ystyrir ganddo ef yn wreiddiau cyntefig ond talfyriadau; megis, *rhy*, *lle*, *lly*, y gydsain ddiweddaf yn ngholl.* Y cynllun a gynygia yr awdwr tuag at wella yr Orgraff sy fel y canlyn:—

1, Fod i'r llythyrenau dyblyg a arferir i wneud sain gael eu cyfnewid; megis, *ch*, *dd*, *ff*, *ng*, *ll*, *ph*, *rh*, *th*, naill ai drwy ddyfeisio llythyrenau newydd yn eu lle, neu drwy arfer llinell, neu ysmotyn o dan *c* i wneud *ch*; o dan *d* i wneud *dd*; o dan *f* i wneud *ff*; o dan *n* i wneud *ng*; o dan *l* i wneud *ll*; o dan *p* i wneud *ph*; o dan *r* i wneud *rh*; ac o dan *t* i wneud *th*,

2, Fod i bob llafariad gael ei sain ei hun yn mhob sefyllfa; megis, yn y geiriau dyn, dydd, canys, felly, hyny, hysbys, plegyd, ac iddynt gael eu hysgrifenu d*u*n, d*u*dd, can*u*s, fell*u*, hyn*u*, hysb*u*s, pleg*i*d.

* Gwel Introduction to the Imperial Dictionary.

3, Fod i'r Negidydd *an* gael ei arfer yn mhob sefyllfa yn ddiwahaniaeth; megis, yn *an*-noeth, *an*-nheilwng, *an*-nghywir, ac *an*-mharod.

4, Fod i'r *di* gael ei arfer yn Negidydd; . megis, yn *di*-oddef, *di*-ben; a'r *dy* gael ei arfer yn Flaenddodyn Cadarnhäol; megis, yn *dy*-noethi, *dy*-oddef.

5, Fod i bob gair cyfansawdd megis gwrandawr, gael dwy *w*, fel gwrandaw-wr, llaw-waith, lliw-wr.

6, Fod i bob gair cyfansawdd fel penod, gael dwy *n*, megis, pen-nod, pen-noeth, gwr-ryw; ac na byddo i'r *dd* gael ei dileu o gwrth*dd*rych.

7, Na fyddo ond un *n* i gael ei harfer lle byddo y *t* yn cael ei throi i *n;* megis, yn meddian*t* meddiannu; can*t* cannfed; ond ysgrifener hwy meddianu, canfed.

8, Fod *cy* i gael ei ystyried yn Flaenddodyn cymwys yn mhob amgylchiad, oddigerth lle byddo angen am *cyd;* megis, yn *cyd*werth, *cyd*fod.

9, Fod i *yn* fod yn *yn* yn mhob sefyllfa; megis, *yn* nghyd, *yn* mron, *yn* mhob.

Nid oes gan yr awdwr ond gadael yr ystyriaethau blaenorol i hynawsedd y dysgedig, gan hyderu y dyga y rhai nad allant gydweled â'r hyn a ddywed ef o berthynas i'r Orgraff resymau digonol ar unwaith i argyhoeddi pawb mai glynu wrth yr hen ddull o lythyrenu a ddylid, sef dodi cydseiniaid dyblyg yn mhob man, os oes rhesymau i'w cael ar y mater, neu y gwnant eu goreu dros gael Orgraff ddiwygiedig, sef, gadael y cydseiniaid dyblyg allan yn llwyr, ond lle y mae galwad penodol am eu gwasanaeth i attal y darllenydd i gyfeiliornad.

---

## GEIRIAU A BLAENDDODIAID SYDD YN LLYWODRAETHU Y CYDSEINIAID CYFNEWIDIOL.

### A.

Y mae *a* pan yn Gysylltiad yn llywodraethu *t* a *p*, gan eu newid i *th* a *ph;* megis, "Coron a *th*eyrnwialen." "Hwch a *ph*orchell."

Llywodraethir *c* gan *â* pan yn Arddodiad, a throir hi yn *ch;* megis, "Rhwymo â *ch*adwyn."

Arferir *a* yn Flaenddodyn; megis yn y geiriau *a*thraw, *a*thrylith, *a*chwyn, *a*chwlwm.

Arferir *a* yn Rhagferf a llywodraetha *d* ac *ll*, gan eu newid i *dd* ac i *l;* megis, "Dynes a *dd*yoddefodd." "Dyn a *l*afuriodd."

Arferir *a* yn Rhagenw a llywodraetha ar *m*, *p*, ac *ll;* megis, "" A *f*yno glod bid *f*arw." "A *b*archo ei well a *b*erchir." "A *l*ywodraetho yn ddoeth a anrhydeddir."

### AC.

Gellir arfer y Cysylltiad *ac* o flaen cydsain; megis, "Fu, sydd, ac *f*ydd." Y mae gan Eiriadur Richards yr engraff ganlynol, "Beunydd ac *f*yth y clodforwn dydi."—*Te Deum.*

### AD.

*Ad* sy Flaenddodyn a lywodraetha *b*, *c*, ac *ll;* megis, yn *ad*farnu, *ad*godi, *ad*lewyrch.

### ADD.

*Add* sy Flaenddodyn a gysylltir âg Ansoddair, ac a lywodraetha *m* gan ei throi yn *f;* megis, yn add*f*ain.

### AF.

*Af* sy Flaenddodyn negyddol; megis yn y geiriau *af*lafar, *af*rifed. Llywodraetha yr *ll* gan ei throi yn *l* yn un, a'r *rh* yn *r* yn y llall.

### AGOS.

Y mae *agos* yn Rhagferf a arferir o flaen Enw gan droi *b* yn *f;* megis, "Tra byddo yn agos *f*ugail."

### A'I.

A'*i* sy Ragenw cyfansawdd a lywodraetha *t* gan ei throi yn *d* ac *th;* megis, "Ei goron a'i *d*eyrnas." "Ei choron a'i *th*eyrnas."

### AM.

*Am* sydd Arddodyn a lywodraetha *c* a *p;* megis,

"Dyro wregys am *g*anol." "Gwisga am *b*en y plentyn." Fe arferir *am* yn Gysylltiad hefyd; megis, "Am *g*oron."

A'M.

*A'm*, Rhagenw cyfansawdd a arferir o flaen geiriau a ddechreuont ag *h;* megis, "A'm *h*ewyllys a wnaf."

AN.

*An* sy Flaenddodyn a arferir o flaen geiriau lle byddo *b* yn troi yn *m;* *c* yn troi yn *ng;* *d* yn troi yn *n;* *p* yn troi yn *mh;* *t* yn troi yn *nh;* megis, yn *an*mwlch, *an*nghymod, *an*nuwiol, *an*mhrydferth, ac *an*nhrefnus.

A'N.

*A'n* sy Ragenw cyfansawdd yn y Rhif luosog, a arferir o flaen geiriau a ddechreuont âg *h;* megis, "A'n *h*ataliodd."

AR.

*Ar* sydd Arddodiad a lywodraetha *c* ac *ll;* megis "Ar *g*erdded." "Ar *l*awr." Arferir *ar* yn Flaenddodyn; megis, ar*dd*angos. Y *d* yn troi yn *dd*.

A'R.

*A'r* sy Gysylltiad bannodawl; megis, "Y tad a'r fam." Yr *m* yn troi yn *f*.

ARNAF.

*Arnaf* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "Y mae arnaf *dd*igon o bwysau." Y *d* yn troi yn *dd*.

ATAF.

*Ataf* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "Anfonodd ataf *l*awer." Yr *ll* yn troi yn *l*.

A'TH.

*A'th* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "Myfi a'th *g*ynghoraf." Yr *c* yn troi yn *g*.

BELLACH.

*Bellach* sy Ragferf, a throir *b* yn *f* ar ei ol; megis, "Bellach *f*echgyn."

### BEUNYDD.

*Beunydd* sy Ragferf a arferir o flaen Enw, ac a lywodraetha yr *ll*, yn "A rhoes beunydd *l*ewyrch."

### BLAEN.

*Blaen* sy Flaenddodyn; megis, blaen*d*rwch, blaen*dd*awd, blaen*ll*aeth. Y *t* yn troi yn *d* yn y cyntaf; y *d* yn troi yn *dd* yn yr ail; a'r *ll* yn cadw ei lle yn y diweddaf yn annghyfnewidiol, fel yr *ff* yn y gair blaen*ff*rwyth.

### BOREU.

*Boreu* a arferir yn Flaenddawd yn y gair boreu*b*ryd. Y mae y *p* yn troi yn *b*.

### CAN.

*Can* sy Gysylltiad a arferir fel y canlyn, "Can *dd*adgan," &c. "Can wyched." Y *d* yn troi yn *dd* yn y gair cyntaf; a'r *g* wreiddiol yn cael ei dileu o'r ail.

### CY.

*Cy* sy Flaenddodyn o'r un ystyr â *cyd*, *cyf*, *cym*, *cyn*, *cys;* fe arferir *cy* yn y gair *cy*mod, *cy*nal, *cy*ngrair; lle mae y *b*, *d*, a'r *c* yn cael eu troi yn *m*, *n*, ac *ng*. Arferir *cyd* yn y geiriau *cyd*-ddwyn, *cyd*-lewyrchu; *cyf*, yn y geiriau *cyf*lenwi, *cyf*reidiau; a *cyn*, yn *cyn*-nelw a *cyn*-elw.

### CHWI.

*Chwi* sy Ragenw a ddilea yr *g* o gwnaethoch; megis, "Chwi wnaethoch." A throa y *d* yn *dd*; megis "Chwi *dd*yoddefasoch."

### DA.

*Da* a arferir yn Gyfryngiad, er mai Enw Gwan ydyw, ac a lywodraetha y *d* a'r *b* yn y geiriau canlynol, "Da *dd*ynion." "Da *f*echgyn."

### DACW.

*Dacw* sy Rhagferf, a lywodraetha y *d*; megis, "Dacw *dd*inas."

DAD.

*Dad* sy Flaenddodyn a lywodraetha y *b* a'r *g*; megis dad*f*eichiaw, dad*g*löad.

DAM.

*Dam* sy Flaeddodyn a lywodraetha y *b* a'r *d*, yn y geiriau dam*f*achiad, dam*dd*al.

DAR.

*Dar* sy Flaenddodyn a lywodraetha yr *c* a'r *d*, yn dar*g*eisiaw, dar*dd*ringaw.

DAT.

*Dat* sy Flaenddodyn a lywodraetha yr *c* a'r *d*; megis, dat*g*anu, dat*dd*efodi. Fe'i harferir weithiau yn da*t*drefn, da*t*drwsiad.

DAU.

*Dau* sydd Enw Gwan a lywodraetha *b*, *ll*, *m*; megis, deu*f*an, deu*l*un, deu*f*ur. Weithiau arferir deu*p*en, deu*t*u, yn lle dau*b*en dau*d*u.

DI.

*Di* sy Ragenw, a lywodraetha y *d* a'r *ll*; megis, "Clywais di *dd*wywaith." "A fedri di *l*efain?" Arferir *di* yn Flaenddodyn negyddol; megis, *di*bwys, *di*foes, *di*les.

DIR.

*Dir* sy Flaenddodyn a lywodraetha y *t p* a'r *m*, yn dir*d*rais, dir*b*oen, dir*f*aint.

DRAW.

*Draw* sy Ragferf; megis, "Dos draw *dd*yn;" y *d* yn troi yn *dd*.

DRWG.

*Drwg* sydd Enw Gwan a lywodraetha yr *ll* yn dryg*l*aw, a'r *m* yn dryg*f*awr. Weithiau dilea lythyren wreiddiol; megis, drwg-weithiwr.

DWY.

*Dwy* sydd Enw Gwan a lywodraetha yr *c* yn dwy-*g*lust; ac a ddilea yr *g* o dwylin.

DY.

*Dy* sy Ragenw; megis, dy *l*ygad, yr *ll* yn cael ei throi yn *l*. Hefyd fe'i harferir yn Flaenddodyn; megis, yn dy*dd*yfnu, dy*f*eithrin; y *d* yn cael ei throi yn *dd*, a'r *m* yn cael ei throi yn *f*.

DYMA.

*Dyma* a *dyna* ydynt Ragferfau; megis, yn "Dyma *f*renin." "Dyna *dd*oethyn." "Y *b* yn troi yn *f*, a'r *d* yn troi yn *dd*.

E.

*E* sy Ragenw; megis, "E *l*efarodd." Arferir *e* hefyd yn Rhagferf; megis, "E *l*efarodd y gŵr." Yr *ll* yn troi yn *l*.

ED.

*Ed* sy Flaenddodyn; megis yn ed*l*id, ed*f*yn. Yr *ll* yn troi yn *l*, a'r *m* yn troi yn *f*.

EI.

*Ei*, Rhagenw gwrrywaidd a benywaidd; megis "Ei *f*am." "Ei *th*aid." Yr *m* yn troi i *f*; a'r *t* yn troi i *th*.

EIL.

*Eil* sy Flaenddodyn; megis, yn y geiriau eil*f*erch, eil*dd*yn. Lle y troir yr *m* yn *f*; a'r *d* yn *dd*.

EIN.

*Ein* sy Ragenw; megis "Ein *h*ardderchog frenines," lle yr ychwanegir yr *h*.

EU.

*Eu* sy Rhagenw; megis, "Y beilchion ffiaidd eu *h*agwedd." Y mae arferiad *ein* ac *eu* yn galw am *h* yn ardderchog, ac agwedd.

FE.

*Fe* sy Ragferf; megis, "Fe ddarfu y bobl weithio."

Y *d* yn troi yn *dd.* "Fe wrendy lais y gwàn." Yr *g* yn cael ei dileu o gwrendy.

FE'I.

*Fe'i* sy Ragenw cyfansawdd, ac fe ddodir *h* yn nechreu y gair a'i dilyna; megis, "Fe'i *h*etyl."

FE'TH.

*Fe'th* sy Rhagenw cyfansawdd, ac y mae yn newid y gydsain flaenaf yn y gair a'i dilyno; megis, "Fe'th *dd*ysg." "Fe'th *l*ona."

FY.

*Fy* sy Ragenw; megis, "Fy *ng*air." "Fy *m*renin." "Fy *n*iwedd." "Fy *nh*yddyn." Troir yr *g* i *ng; b* i *m; d* i *n; t* i *nh* yn yr engraffau uchod.

GAN.

*Gan* sy Gysylltiad; megis, "Gan *l*unio o honot." Yr *ll* yn troi yn *l.* Y mae *gan* hefyd yn Arddodyn; megis, "Syrthiodd i'r bedd gan *d*ristwch." Y *t* yn troi yn *d.*

GENYF.

*Genyf* sy Ragenw Arddodiadol; megis, "Hoff genyf *dd*yn gonest." Y *d* yn troi yn *dd.*

GO.

*Go* sy Flaenddodyn a chanddo lywodraeth ar amryw Gydseiniaid; megis, go*b*lyg. Y *p* y cael ei throi yn *b.* Arferir *go* yn Rhagferf hefyd; megis, go *dd*u, go *l*ym, go *f*ain, a go *l*ew. Y *d* yn troi yn *dd;* yr *ll* yn troi yn *l;* yr *m* yn troi yn *f;* a'r *g* yn cael ei dileu o'r diweddaf.

GOR.

*Gor* sy Flaenddodyn; megis, gor*d*oi, gor*th*rwm. Y *t* yn troi yn *d* ac yn *th.* Dilea yr *g* o gorwag.

GWAE.

*Gwae* sy Gyfryngair a lywodraetha yr *c;* megis, "Gwae *g*affo anair yn ieuanc."

GWAG.

*Gwag* a droir yn Flaenddodyn, er mai Enw Gwan ydyw; megis, yn gwag*f*alch. Y *b* yn troi yn *f.*

GWRTH.

*Gwrth* sy Flaenddodyn; megis, yn gwrth*dd*adleu; y *d* yn troi yn *dd.* Gwrth*f*arn; y *b* yn troi yn *f.* A gwrth*g*iliad; yr *c* yn troi i *g.*

GWYR.

*Gŵyr* sy Flaenddodyn; megis, yn gŵyr*d*raws. Y *t* yn troi yn *d.*

HA.

*Ha* sy Gyfryngiad; megis, "Ha wraig!" Yr *g* yn cael ei dileu.

HAI.

*Hai* sy Ragferf; megis, yn "Hai *dd*yn." Y *d* yn troi yn *dd.*

HEB.

*Heb* sydd Arddodyn a lywodraetha y *d* yn "Heb *dd*erbyn." "Heb *dd*iolch."

HEFYD.

*Hefyd* sy Gysylltiad a allir ei arferu o flaen Enwau Cadarn; megis, "Gwnaeth les, hefyd wasanaeth." Yr *g* yn cael ei dileu o gwasanaeth.

HI.

*Hi*, a *hithau* sy Ragenwau; megis, "Hi *g*erddodd." "Hi weithiodd." Yr *c* yn troi yn *g* yn y cyntaf; a'r *g* yn cael ei dileu yn yr ail.

HIR.

*Hir* sy Flaenddodyn; megis, yn hir*l*wm. Yr *ll* yn cael ei throi i *l.* Ac yn hir*b*ryd y *p* yn troi yn *b.*

HONOF.

*Honof* sy Ragenw; megis, "Dysgu o honof *dd*ywedyd." Y *d* yn troi yn *dd.*

HWY.

*Hwy* sy Ragenw; megis, "Hwy *d*roisant wegil." Y *t* yn troi yn *d.*

HY.

*Hy* sy Flaenddodyn; megis, yn hy*g*ar, hy*d*wf. Yr *c* yn troi yn *g*; a'r *t* yn *d.*

### HYD.

*Hyd* sydd Arddodyn; megis, "Hyd *F*ehefin." Yr *m* yn troi yn *f*.

### HYLL.

*Hyll* sy Flaenddodyn; megis, Hyll*d*raw. Y *t* yn troi yn *d*.

### HYTRACH.

*Hytrach* sy Ragferf; megis, "Gwna yn hytrach *l*es." Yr *ll* yn troi yn *l*.

### I.

*I* sydd Arddodyn; megis, "I *dd*inas." "I *g*oedwig." Y *d* yn troi i *dd*; a'r *c* yn troi i *g*.

### IAWN.

*Iawn* sy Flaenddodyn; megis, iawn*d*refn, iawn*d*rin. Y *t* yn troi i *d*.

### IDDO.

*Iddo* sydd Ragenw; megis, "Ni fydd iddo *g*ynaliaeth." Yr *c* yn troi i *g*.

### I'M.

*I'm* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "I'm *h*erlid," "I'm *h*arbed." Yr *h* yn cael ei hychwanegu.

### IR.

*Ir* sy Flaenddodyn; megis, ir*g*oed. Yr *c* yn troi yn *g*.

### I'TH.

*I'th* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "Dos i'th wlad." "Tyred i'th *d*y." Yr *g* yn cael ei dileu o gwlad; a'r *t* yn cael ei throi yn *d*, yn ty.

### I'W.

*I'w* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "I'w *f*am." "I'w *g*adw." "I'w *th*aid." Yr *m* yn troi yn *f*; yr *c* yn troi yn *g*; a'r *t* yn troi yn *th*.

### LLED.

*Lled* sy Flaenddodyn; megis, lledwych. Yr *g* yn cael ei dileu o gwych. Lled-*d*roi. Y *t* yn cael ei throi yn *d*.

LLWYR.

*Llwyr* sy Flaenddodyn; megis, llwyr*d*roi. Y *t* yn troi yn *d*.

LLYM.

*Llym* sy Flaenddodyn; megis, llym*b*wyll, llym*d*ost. Y *p* yn troi yn *b*; a'r *t* yn troi yn *d*.

LLYMA.

*Llyma* a *llyna*, ydynt Ragferfau; megis, "Llyma *dd*yn." "Llyna *dd*ynes." Y *d* yn troi yn *dd*.

MAWR.

*Mawr* sy Flaenddodyn; megis, mawrwych, mawr*dd*awn. Yr *g* yn cael ei dileu o'r cyntaf, a'r *d* yn cael ei throi yn *dd* yn y diweddaf.

MI.

*Mi* sy Ragenw; megis, "Mi *g*añaf." "Mi elwais." Yr *c* yn troi yn *g*; a'r *g* o'r gair diweddaf yn cael ei dileu.

MO.

*Mo* sydd Arddodyn; megis, "Mo *dd*inas Llundain." Y *d* yn troi yn *dd*.

MO'I.

*Mo'i* sy Ragenw Arddodiadol; megis, "Ni ddeil mo'i *d*aclu." "Ni thal mo'i *ch*odi." Y *t* yn troi yn *d*; a'r *c* yn troi yn *ch*.

MOR.

*Mor* sy Ragferf; megis, "Mor *dd*oeth." "Mor *l*awn." "Mor *f*wyn." Y *d* yn troi yn *dd*; yr *ll* yn troi yn *l*; a'r *m* yn troi yn *f*.

MO'TH.

*Mo'th* sy Ragenw Arddodiadol; megis, "Mo'th *f*wynach." "Mo'th well." Yr *m* yn troi yn *f*; a'r *g* yn cael ei dileu o gwell.

MYNYCH.

*Mynych* sy Ragferf; megis, "Mynych *dd*ywedyd." "Mynych *r*odio." Y *d* yn troi yn *dd*; a'r *rh* yn troi yn *r*.

NA.

*Na* sy Gysylltiad; megis, "Na *th*ân, na *ch*anwyll." Y *t* yn troi *th;* a'r *c* yn troi yn *ch*. Arferir *na* hefyd yn Rhagferf; megis, "Na wna." "Na *dd*ywed." "Na *ch*asa." "Na *ph*aid." Lle y cyfnewidir y llythyrenau drwy ddileu yr *g* o gwna; troi y *d* yn *dd*; a'r *c* yn *ch;* a'r *p* yn *ph*.

NAILL.

*Naill* sydd Ansoddair; megis, y naill *dd*inas. Y *d* yn troi yn *dd*.

NEU.

*Neu* sy Gysylltiad; megis, "Myn'd neu *dd*yfod." "Mab neu *f*erch." Y *d* yn troi yn *dd*; a'r *m* yn troi yn *f*.

NI.

*Ni* sy Ragferf; megis, "Ni *dd*aeth." "Ni *ch*ais." "Ni *ph*âr." "Ni *th*yn." Y *d* yn troi yn *dd*; yr *c* yn troi yn *ch*; y *p* yn troi yn *ph*; a'r *t* yn troi yn *th*.

NI.

*Ni* sy Ragenw; megis, "Ni ganwn." "Yr *c* yn troi yn *g*.

NI'TH.

*Ni'th*, Rhagenw cyfansawdd; "Ni'th roddaf di i fynu." Yr *rh* yn troi yn *r*.

O.

*O* sydd Arddodiad, Cysylltiad, a Chyfryngiad. Arddodiad; megis, "O *l*an i *l*an." Cysylltiad; megis, "O *ph*archwch fi." Cyfryngiad; megis, "O *dd*yn! cofia dy ddeunydd." Y mae yr *ll* [yn llan] yn troi yn *l;* y *p* yn troi yn *ph*; a'r *d* yn troi yn *dd*.

OCH.

*Och*, hefyd sy Gyfryngiad; megis, "Och, *dd*yn." Y *d* yn troi yn *dd*.

ODDIAR.

*Oddiar* sydd Arddodyn; megis, "Oddiar *g*opa y *g*raig." Yr *c* yn troi yn *g*. Y mae *oddiwrth* hefyd yn

meddu llywodraeth ar y Cydseiniaid; megis, "Oddiwrth *F*angor." "Oddiwrth *B*enllyn." Y *b* yn troi yn *f*; a'r *p* yn troi yn *b*.

O'I.

*O'i* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "O'i *f*wth." "O'i *d*yddyn." "O'i *th*ylwyth." Y *b* yn troi *f*; *t* yn troi yn *d*, ac yn *th*.

ONI.

*Oni* sy Gysylltiad; megis, "Nid ei i ben y daith oni *ch*ychwyni." Yr *c* yn troi *ch*. Fe arferir *oni* yn Rhagferf hefyd; megis, "Oni *dd*engys efe ddaioni?" Y *d* yn troi yn *dd*.

O'TH.

*O'th* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "O'th *b*archu." "O'th *g*odi." Y *p* yn troi yn *b*; a'r *c* yn troi yn *g*.

OW.

*Ow* sy Gyfryngiad; megis, "Ow! *b*eth a ddaw o honom?" Y *p* yn troi yn *b*.

PA.

*Pa* sy Ragenw; megis, "Pa *l*ys?" "Pa *dd*inas?" "Pa *f*ynydd?" Yr *ll* yn troi yn *l*; y *d* yn troi yn *dd*; a'r *m* yn troi yn *f*.

PAN.

*Pan* sy Ragferf; megis, "Pan *dd*ywedodd y gair." Y *d* yn troi yn *dd*.

PWY.

*Pwy* sy Ragenw; megis, "Pwy *l*uniodd hyny?" Yr *ll* yn troi yn *l*.

RHAG.

*Rhag* sy Flaenddodyn; megis, Rhag*l*uniaeth, rhagosod. Yr *ll* yn troi yn *l*; a'r *g* yn cael ei dileu o gosod.

RHY.

*Rhy* sy Ragferf; megis, "Rhy *f*awr." "Rhy *g*rintach." Yr *m* yn troi yn *f*; a'r *c* yn *g*.

RHYW.

*Rhyw* sydd Ansoddair; megis, "Rhyw *dd*iwrnod." "Rhyw *l*uaws." Y *d* yn troi yn *dd*; a'r *ll* yn troi yn *l*.

TAN.

*Tan* sydd Arddodiad; megis, "Tan *g*redu." "Tan *f*yfyrio." Yr *c* yn troi yn *g*; a'r *m* yn troi yn *f*.

TI.

*Ti* sy Ragenw; megis, "Ti welaist." Yr *g* yn cael ei dileu. "Ti *dd*ywedaist." Y *d* yn troi yn *dd*.

TRA.

*Tra* sy Flaenddodyn; megis, tra*p*her. Y *p* yn cael ei throi i *ph*.

TRAWS.

*Traws* sy Flaenddodyn; megis, Traws*l*usgo, traws*l*ywodraeth. Yr *ll* yn cael ei throi yn *l*.

TROS.

*Tros* sydd Arddodyn; megis, "Tros *f*esur. Yr *m* yn cael ei throi i *f*.

TRWY.

*Trwy* sydd Arddodyn fel *drwy*; megis, "Trwy *b*arch ac anmharch," neu "*drwy b*arch ac anmharch." Y *p* yn cael ei throi i *b*.

TUA.

*Tua* sydd Arddodyn; megis, "Aeth tua *ph*ont Menai." Y *p* yn cael ei throi i *ph*.

WB.

*Wb wbwb*, sy Gyfryngiad; megis, "Wbwb! *f*eirddion." Y *b* yn cael ei throi yn *f*.

WFFT.

*Wfft* sy Gyfryngiad; megis, "Wfft *f*yth iddo." Y *b* yn cael ei throi i *f*.

WRTH.

*Wrth* sydd Arddodyn; megis, "Wrth *r*eswm." "Wrth *f*ynydd." Yr *rh* yn cael ei throi yn *r*; a'r *m* yn cael ei throi yn *f*.

### Y.

*Y* sy Fannod; megis, "Y *dd*ynes." "Y *f*orwyn." Y *d* yn cael ei throi yn *dd*; a'r *m* yn cael ei throi yn *f*.

### YCHYDIG.

*Ychydig* sy Ragferf; megis, "Ychydig *g*oed." Yr *c* yn troi yn *g*.

### YM.

*Ym* sy Flaenddodyn; megis, ym*g*odi, ymorphwys. Yr *c* yn troi yn *g*; a'r *g* yn cael ei dileu.

### YN.

*Yn* sydd Arddodyn; megis, "Yn *n*inas." "Yn *nh*eyrnas." Y *d* yn troi yn *n*; a'r *t* yn troi yn *nh*. Nid ydyw yr arferiad a wneir o *yn* yn *ym* ac yn *yng*, yn rheolaidd; ac nid oes un ddeddf yn caniatau gwasgu yr *yn* yn *yng*halon, ac *yng*hyngor.

### YNTAU.

*Yntau* sy Ragenw; megis, "Yntau *f*yfyriodd." Yr *m* yn troi yn *f*.

### Y'TH.

*Y'th* sy Ragenw cyfansawdd; megis, "O'r wlad y'th elwais." Yr *g* wedi ei dileu.

Dodwyd y sylwadau blaenorol i fewn ar ddymuniad Cymreigydd deallus, yr hwn a dybiai y byddent o gynorthwy i ysgrifenwyr ieuainc. Ni ddylai yr Efrydydd orphwys ar awgrymau a gaffo mewn Gramadegau; ond dylai ymestyn am fwy o wybodaeth nag a geir mewn llyfr cyfarwyddiadol. Ymdreched, yn ol yr engraffau a ddodwyd ger ei fron, am gael engraffau newyddion, a chwilied pa mor bell y mae y gwahanol Ranau Ymadrodd a ddefnyddiwyd yn effeithio cyfnewidiadau.

---

## METHIANT A GWENDID MEWN CYFANSODDIAD.

### CYFANSODDIADAU AMLEIRIOG.

Dywed un awdwr fod araeth annhrefnus, nid yn unig yn ddiraddiad i'r dyn a'i llefaro, ond hefyd yn gwarth-

ruddo ei reswm a'i farn; felly y mae cyfansoddiad aflerw hefyd. Dylai cyfansoddiad, er bod yn dderbyniol, fod yn eglur, yn gryno, ac yn ddealladwy. Os na fydd felly, caiff ei adael, y mae yn debyg, i drugaredd yr oes nesaf. Bu yn ofid genym, cyn hyn, weled dynion yn cymeryd cymaint o drafferth arnynt eu hunain i bentyru geiriau mewn cyfansoddiadau heb unrhyw debygrwydd y byddai i un o bob cant o ddarllenwyr yr oes ymdrafferthu i edrych arnynt. Ysgrifena amryw awdwyr ddrylliau o ymadroddion, a geiriau tywyll a gorchwyddawg yn rhedeg drwyddynt, heb fwy o duedd ynddynt i oleuo meddwl y darllenydd nag sydd yn nhwrf rhaiadr wrth ddisgyn dros drwyn y graig. Nid oes eisiau mwy o eiriau nag a ddengys y meddyliau yn briodol; ac ni wna llai y tro. Gwisg yw geiriau, ac y mae cymeryd mwy o drafferth gyda hwynt, na chyda'r peth a wisgir, yn ffoledd. Edrychai dyn â chwe' phâr o lodrau am dano yn chwyddedig iawn; ond ni ychwanegai hyny un mymryn at ei faintioli gwreiddiol; felly nid ellir ychwanegu dim at werth meddylddrychau drwy bentyru gormod o eiriau. Pa beth a ychwanegid at y meddwl pe dywedid, "Y maent yn ddynion nefol, wedi eu nefoleiddio â holl nefoleiddrwydd gwlad y nefolion," yn lle, "Y maent yn ddynion nefol." Meddwl bod yn ardderchog y mae gwyr yr aml eiriau. Dywed Doctor Johnson, "*Grand nonsense is insupportable.*" Y mae ereill yn caru tywyllwch yn fwy na goleuni yn ngosodiad allan eu meddyliau; ond ni wna y tywyllwch, yn yr hwn yr ymguddiant, ini gredu eu bod hwy yn aruchel *(sublime)*. Y mae Longinus yn dyweud mai y prawf goreu o beth gwir aruchel yw yr argraff a wna ar ein meddwl pan ddarllenwn, neu pan glywn ef. Os na fydd i waith gipio yr enaid, a chodi y syniadau, a rhoddi meddylddrychau mwy nag a all swn y geiriau gyfleu, ond a fyddant wrth syllu arnynt yn lleihau ac yn gwywo, gallir bod yn sicr nad oes dim heb fyned yn is na'r glust yn wir aruchel. O'r ochr arall, y mae yr hyn sydd yn wir aruchel yn ardderchog ac yn uchel,

fel mai pa fwyaf a feddyliom am dano, mwyaf i gyd a welwn o'i ogoniant; grym yr hwn nad allwn wrthsefyll; sudda yn ddwfn yn union, a gwna y fath argraff ar y meddwl nad ellir ei wisgo ymaith na'i ddileu; mewn gair, gellir galw y gwaith hwnw yn aruchel, yn brydferth, ac yn bur, sef, yr hwn sydd yn boddhau yn feunyddiol, ac yn dderbyniol gan bob math o ddynion: canys pan fyddo dynion o wahanol dymerau, oedran, galwedigaethau, a thueddiadau yn cyduno i dderbyn peth, yna bydd i'r undeb barn yma, yn mysg cynifer o wahanol bobl, osod argraff uchel a gwerth diddadl arno. Nid oes neb yn hoff o dramwy drwy frawddegau geiriog a hiranadlog; ni chymer prin un o gant y drafferth o gysylltu eu hamryw aelodau â'u gilydd er ceisio cael allan y synwyr. Y canlyniad ydyw fod pob ymdrech a wneir at fod yn *ardderchog* drwy ddyweud llawer o eiriau, a thrwy arfer geiriau hirion, tywyll, a chwyddedig yn hollol aflwyddianus. Y fath chwydd ofer sydd yn y frawddeg wrthun a ganlyn:—"Y maent yn ddynion cythraulig wedi eu cythrauligeiddio â holl gythrauligeiddrwydd gwlad y cythrauledigion." Y mae yn flin gan bobl yr amleiriau ddarllen amleiriau eu gilydd, oddieithr mewn ewyllys neu weithred gyfreithiol y deilliai rhyw les iddynt drwy eu darllen.

Dodwn yn bresenol gynlluniau o gyfansoddiadau da a drwg ger bron y darllenydd. Peth poenus yw gwrando dyn y byddo llawer o Gromfachau yn ei ymddiddanion; sef, un fyddo yn dyweud llawer, ond heb fyned fawr yn mlaen; a pheth poenus dros ben yw darllen ysgrif fyddo wedi ei britho â Chromfachau megis yr ysgrif a ganlyn:—

"Derbyniais yr eiddoch y pumed ar hugain o'r mis o'r blaen (er y dylaswn ddyweud na ddaeth i law megis y tybiasoch chwi, hyd y chwechfed o'r mis hwn, oblegid i'r dygiedydd, John Thomas, gael ei atal gan yr eira trwm sydd wedi bod yn disgyn er ys dyddiau) ac yr wyf yn bresenol yn defnyddio y cyfleusdra cyntaf a ellais gael gan fy masnach (yr hwn sydd wedi bod fel y mae yn dda genyf gael eich hysbysu yn bur dda, yn ddiweddar) i'w ateb, yr hyn a wnaf mor fanwl a chyda'r fath ofal am wneud eich holl eirchion ag y gwna yr amser a allaf hebgor (yr hwn sy megis y dywedais o'r blaen yn cael ei gymeryd i fynu gan yr ychwan-

egiad masnach) ei ganiatau. ac yr wyf yn meddwl y gallwch ddysgwyl y byddant wedi eu gwneud mewn tair wythnos neu rywbeth o'r fath (ond dichon y byddaf ddau ddydd neu dri yn hwy) ac yna byddwch wedi cael gofalu am danoch yn lled dda am y gweddill o'r Gauaf, yr hwn (megis yr ydych yn sylwi) sydd yn addaw bod yn llymach na nemawr un arall yn nghof neb."

Y fath druth gwerthfawr sydd yn y difyniad blaenorol, yr hwn nad ellid ei wellâu pe tynid ymaith y Cromfachau ( ), canys byddent yno o ran eu sylwedd drachefn. Dylid ysgrifenu, hyd y byddo yn alluadwy, heb Gromfachau gweladwy na dealladwy; ac nid oes ond ysgrifenwr gwael nad all osod ei feddwl allan yn grynöach nag y gwneir yn y dernyn blaenorol. Onid mwy hyfryd i'r llygad a difyrach i'r glust fuasai fel y canlyn:—

"Ni ddaeth yr Eiddoch o'r 25ain o'r mis o'r blaen i law hyd y 6ed o'r mis hwn. Yr achos o'r gohiriad oedd i'r dygiedydd, John Thomas, gael ei ddal gan yr eira trwm a wnaeth. Y mae masnach fel y mae'r goreu wedi bod yn dda iawn, yn ddiweddar, ac yr wyf yn defnyddio y cyfleusdra cyntaf a gefais i ateb eich llythyr. Yr wyf yn ofni na chaf hamdden i wneud hyny mor fanwl ag y dymunwn. Ond er nad allaf yn awr sylwi ar eich holl eirchion gwahanol bob un ar ei ben ei hun, gellwch ddysgwyl y byddant wedi eu cyflawni yn mhen oddeutu tair wythnos. Bydd genych wedi hyny ddarpariaeth dda erbyn y gweddill o'r Gauaf, yr hwn sy, megis y sylwch, yn addaw bod yn llym dros ben."

Gwel y darllenydd nad oes un angen am y geiriau a adawyd allan o'r dernyn uchod, er gwneud yr hyn a ysgrifenir yn ddealladwy, ond yn hytrach fod yr ymadroddion a ddilewyd tra y gadawyd hwynt ynddo yn gwaethygu y cyfansoddiad.

Y mae modd weithiau ychwanegu cryn lawer at ymadroddion, a thrwy hyny wellâu cyfansoddiad gan ei wneud yn fwy effeithiol; megis, y gwelir yn wyneb y difyniad canlynol:—

"Cafodd Syr Philip Sydney ei glwyfo gan belen dryll, yr hon a dorodd asgwrn ei glun. Cariwyd ef i'r gwersyll, a chan ei fod yn llesmeirio o herwydd colli ei waed, galwodd am ddiod. Fel yr oedd yn codi y llestr at ei enau. edrychodd milwr tlawd archolledig arno gyda llygad dyfal. Rhoes Sydney wrol a haelfrydig y gostrel iddo ef, gan ddywedyd, 'Y mae dy angen di yn fwy na fy angen i.'"

Dyma ni wedi dodi y cyfansoddiad yn y ffordd fyraf, ac wele yn canlyn yr un hanes mewn rhagor o eiriau:—

"Cafodd Syr Philip Sydney ei glwyfo gan belen dryll, yn y frwydr ger Zutphen, yr hon a dorodd asgwrn ei glun. Fe i cariwyd am o ddeutu milldir a haner i'r gwersyll; a thrwy ei fod yn llesmeirio o herwydd colli ei waed, a'i syched, y mae yn debygol, yn angerddol, o herwydd poethder y tywydd, galwodd am ddiod. Fe ddygwyd peth iddo yn uniongyrchol; ond fel yr oedd yn codi y llestr at ei enau, edrychodd milwr tlawd archolledig arno gyda llygad dyfal, yr hwn oedd yn dygwydd cael ei gario heibio. Cymerodd Sydney wrol a haelfrydig y gostrel oddiwrth ei enau ei hun, a rhoes hi i'r milwr, gan ddywedyd, 'Y mae dy angen di yn fwy na fy angen i.'"

Os na fydd rhywbeth pwysig yn cael ei enill, ni ddylid arfer ond yn unig y geiriau y byddo llwyr angen am danynt. Y mae'r hanes blaenorol yn fwy effeithiol yn y ffurf ddiweddaf na'r gyntaf.

Buddiol fyddai i'r Efrydwr allu talfyru ei frawddegau yn ol fel y byddo achos yn galw; ac mewn trefn i hyny dylai adnabod y gwahaniaeth sydd rhyngddynt.

## BRAWDDEGAU—EU CYFANSODDIAD.

Y mae dau fath o frawddegau yn bod, sef, y frawddeg syml a'r frawddeg gydgasgliadol. Y mae yr adeiladydd cywrain yn adnabod ei gareg yn nghanol y pentwr, ac yn gwybod pa fodd i'w gosod yn ei lle; felly ninau wrth gyfansoddi brawddegau, nid yn unig dylem adnabod gair, ond dylem adnabod *y* gair a wnai y tro. Da fyddai ymdrechu cyfansoddi brawddeg mewn ffyrdd gwahanol, fel y canlyn:—

"Cymedroldeb mewn bwyta ac yfed yw'r peth goreu i gynal iechyd. —Bod yn gymedrol mewn bwyta ac yfed yw'r peth goreu i gynal iechyd.—Bwyta ac yfed yn gymedrol yw'r peth goreu i gynal iechyd.—Y peth goreu i gynal iechyd yw bwyta ac yfed yn gymedrol.—Cymedroldeb mewn bwyta ac yfed sydd yn cynal iechyd oreu.—Y ffordd oreu i gynal iechyd yw bod yn gymedrol mewn bwyta ac yfed.—Y mae cymedroldeb mewn bwyta ac yfed yn peri iechyd.—Y mae iechyd yn dibynu ar gymedroldeb mewn bwyta ac yfed.—Gwella yr iechyd drwy fwyta ac yfed yn gymedrol.—Y mae yr iechyd yn gwella drwy fwyta ac yfed yn gymedrol.—Rhaid i ni fwyta ac yfed yn gymedrol er cadw iechyd."

Dyma yr un frawddeg wedi ei gosod mewn un-ar-ddeg o ddulliau gwahanol, a phob un o honynt yn rheolaidd, heb gymaint ag un gair yn ormod. Brawddegau syml yw y rhai canlynol:—

"Y mae cyfeillgarwch yn gwella hapusrwydd. Y mae cyfeillgarwch yn lleihau trueni. Y mae cyfeillgarwch yn gwneud ein llawenydd yn fwy o'r haner. Y mae cyfeillgarwch yn rhanu ein gofid."

Brawddegau cydgasgliadol yw amryw frawddegau wedi eu cysylltu wrth eu gilydd, fel yr ymddangosont fel un frawddeg; megis,—

"Y mae cyfeillgarach yn gwella hapusrwydd, ac yn lleihau trueni, drwy wneud ein llawenydd yn fwy o'r haner, a rhanu ein gofid."

Rhydd deall y ffordd i osod brawddegau wrth eu gilydd yn y modd mwyaf manteisiol help i gyfansoddi yn gryno.

Y mae amryw a allant adrodd hanes yn dda er na feddant unrhyw wybodaeth am Ramadeg; eto, pe byddai i'r cyfryw gymeryd yr ysgrifbin i geisio gosod yr hanes i lawr, aent i ddyryswch hollol. Pentyrent yr amgylchiadau ar draws eu gilydd, a thrwy eu gilydd, nes arwain y darllenydd i ddyryswch hollol. Wrth ymddiddan, efallai, y dywedent fel hyn,—

"Aeth dau ddyn i dŷ Mr. R. Jones, Heol y Castell, nos Sadwrn, tua deuddeg o'r gloch, drwy dori y drws, a lladratasant lestri arian a phethau ereill o'r parlawr; dygwyddodd i fachgen oedd yn gorwedd yno fod yn effro, yr hwn a ymguddiodd dan y gwely pan glywodd hwy yn y porth, a thrwy ei bod yn oleu leuad, gwelai hwynt yn eglur mai hen was, oedd wedi ei droi ymaith o ddeutu dau fis cyn hyny gan Mr. R. Jones, oedd un o honynt; ac mai dyn bychan oedd y llall tua deugain oed, a thoriad ar ei foch ddê. Wedi iddynt sypio i fynu yr yspail a gadael yr ystafell, bolltiodd y bachgen y ddor tu fewn yn ddiogel a gwaeddodd, "Wchw!" "Yspeilwyr!" can uched ag y medrai; ffoisant hwythau ymaith y pryd hwnw a'r ysglyfaeth gyda hwynt."

Mynegid yr holl bethau hyn yn fanwl wrth siarad, ond pe yr elai yr un adroddwyr i geisio gosod yr hanes ar bapur nid allent byth ddilyn y rhediad naturiol; ysgrifenent, efallai,—

"Fod dau ddyn wedi tori ty, un o honynt yn hen was a dröwyd ymaith gan Mr. R. Jones, tua daufis yn ol, a'r llall, dyn tua deugain oed, a thoriad ar ei foch ddê, yr hwn na allasid byth ei nabod oni buasai y dygwyddiad ffodus hwnw gan fachgen oedd wedi ymguddio o dan y gwely yn y parlawr, a'r hwn a'u gwelodd yn sypio i fynu ac yn myned ymaith."

Aent yn mlaen nes y gwelent nad oeddent wedi mynegu tŷ pwy a dorwyd, yn mha le yr oedd Mr. R.

Jones yn byw, nac amser yr yspeiliad, na'r oleu leuad, na thori y drws, ac yna dygent lu o eiriau a chromfachau i fewn, a'r cwbl yn gymysgedd annirnadwy. Dim ond i bobl ystyried mai offeryn yw y pin i ddodi y meddyliau ar bapur, gwelant y gallant ysgrifenu yn gystal a siarad; ond y mae rhyw dyb yn mhlith dynion fod ysgrifenu yn beth mor wahanol i lefaru, fel na ddylai neb ond y rhai a ystyrir yn ddysgedig dros ben osod pin ar bapur. Pan, mewn gwirionedd, os gall dyn siarad yn eglur, gall ysgrifenu yn eglur, ond ymarfer.

Pan fyddo ar ddyn eisiau darlunio dygwyddiad ar bapur, bydded iddo yn gyntaf ddodi yr holl ffeithiau i lawr; a phan gaffo le i feddwl na fydd efe wedi esgeuluso un o honynt, cyfrifed hwynt yn rheolaidd, a bydded iddo ymdrechu eu dodi i lawr yn eu lleoedd priodol, a hyny mewn brawddegau byrion os nad tarawiadol. Os bydd eisiau rhyw sylw ar y mater, gadawer hyny hyd y diwedd. Y mae gosod rhanau hanes syml wrth eu gilydd, yn gymwys i fyned i'r wasg, yn un o'r pethau anhawsaf y gall dyn ddychymygu am dano; ac eto nid oes unrhyw beth yr ymgeisir mwy ato. Bydded y brawddegau o hyd canolig, a brawddeg fer yma ac acw yn eu plith; oblegid y mae yn gofyn dynion mwy na chyffredin i gyfansoddi brawddegau hirion. Gall brawddegau redeg yn lled hir weithiau mewn ffordd o fanylu; megis y dywedir am ddyn âg arferion od ganddo yn y llinellau canlynol:—

"Yr oedd ganddo lawer o arferion ysmala. Yr oedd efe bob amser yn gwisgo ffugwallt a het ac ysnoden arni—elai i'w wely am naw a chodai am bedwar—nid ai byth allan ar ddydd Llun—gwisgai lodrau goleu Haf a Gauaf—yr oedd yn gas iawn ganddo gathod duon—gwisgai ei ffugwallt dros ei wallt naturiol, yr hwn oedd yn dew iawn yn wastadol—ni fynai neb ond Negröaid yn weision."

Gellir rhedeg brawddegau fel hyn dros du-dalen neu ddau heb annghyfleusdra i'r darllenydd, oblegid ni fydd ganddo ddolenau gwasgaredig i'w casglu at eu gilydd yn y diwedd; a gellir cysylltu unrhyw nifer o frawddegau yn nghyd os byddant o natur amodol; megis,

"——Os ateliais ddim o ddeisyfiad y tlawd, ac os gwneuthum i lygaid y weddw ddiffygio, ac os bwytëais fy mwyd yn unig, ac oni fwytäodd yr amddifad o hono?"—Job 31.

Oblegid bydd yn hawdd i'r darllenydd, os bydd ef wedi blino, daflu ei olwg at ddiwedd yr ymadroddion, a gweled at ba beth y bydd yr awdwr yn cyfeirio.

Nid ydym yn annghymeradwyo brawddegau hirion yn hollol ar bob achlysur. Y maent rai prydiau yn dra angenrheidiol, ac y mae yn berygl bod yn rhy fyr. Y mae y fath beth yn bod a thynu holl nerth brawddeg allan drwy ei byrhau a'i thociaw, ac arfer gormod o fanylder gyda'i chyfansoddiad. Lle byddo dyn yn gallu darllen yn ei flaen heb rwystr, a'r hyn a ddarlleno yn tywynu ar ei feddwl, fel yr elo rhagddo, heb angen troi yn ei ol, er gweled y synwyr, y mae brawddeg hir yn briodol; megis, yr engraff a ganlyn:—

"Gwelir gogoniant tragwyddol ddoethineb yn y gwaith o ffurfio cyfansoddiad moesol, trwy yr hyn y daeth euogrwydd a chosb pechod, can belled ag yr ydoedd yn angenrheidiol, i ddybenion Iawn, i gael eu cymeryd gan yr Aberth dihalog arno ei hun; ac y mae gwerth ei ufudddod a'i ddyoddefiadau yn dyfod yn gyfrifedig ar seiliau iawnder a rheswm i'r pechadur a ddygir i gydsynio yn galonog â'r drefn bur a grasol."

Y peth y dylid gochel rhagddo yw rhimyn hir fel y canlyn:—

"Pwy wrth adfyfyrio ar yr olygfa hawddgar ag a fynega y dwyfol Ddadguddiad am dani, yr hon a fu unwaith yn cartrefu ar ein daiar ni, pan oedd holl greaduriaid Duw, yn ddynion ac angylion, mewn cydgordiad a chydweithrediad, ïe, a'r heddwch helaethaf, a'r cariad gwresocaf yn teyrnasu yn eu plith, a phob un o honynt yn ei le priodol, yn ol graddau ei osodiad yn y peiriant harddwych, yn derchafu y clodydd teilwng i'r Duw tragwyddol am ei waith mewn chwe' diwrnod, a hyny mewn modd diffuant, ac heb y tueddiad lleiaf i ŵyro, a all yn awr lai na galaru wrth ganfod fod pechod ar ol hyny gwedi agor y drws i'r fath elyniaeth ofnadwy gymeryd lle yn mhlith trigolion y bydysawd nes eu gosod o dan lywodraeth y gelyniaeth echryslonaf ac i sychedu am waed eu gilydd a hyny i'r graddau pellaf a mwyaf arswydus."

Nid oes neb deallus a gymero y drafferth o ddarllen y frawddeg ddiweddaf drwyddi na fydd yn barod i ofyn wedi y cyraeddo y pen olaf i ba beth y mae da. Pwy yn ei diwedd all fynegu pa beth a gynwysai yn ei

dechreu? Y mae pedwar peth o bwys y dylid eu cadw mewn golwg wrth lunio brawddeg; sef, Eglurder, Cyfunedd, Nerth, a Chysondeb.

### EGLURDER.

Y mae yn rheidiol er cyraedd eglurder wneud dewisiad o'r geirian goreu, a gosod y rhai hyny yn eu lleoedd priodol. Dylai y geiriau mwyaf perthynol i'w gilydd fod yn agosaf i'w gilydd, fel y byddo i'r hyn a ysgrifener ymddangos yn eglur. Wele yn canlyn engraff o frawddegau aneglur,

"Ni ddichon gelyniaeth dynion, grym eu hanghrediniaeth, a'u hymgaledwch mewn pechod ymddangos yn fwy ysgeler mewn un lle nag yn ngwaith yr Iuddewon yn ceisio celu adgyfodiad Iesu trwy roddi arian i'r milwyr ag oedd yn tystiolaethu iddynt am hyny. Gwedi i'r Arglwydd Iesu fynegi iddynt o'r blaen y byddai iddo adgyfodi, a'r dystiolaeth a roddodd y milwyr o fod hyny wedi cymeryd lle, yr hon ni chynygiasant mo'i gwadu, yn nghyd â'r hanes a gawsant am y gwyrthiau a'r nerthoedd rhyfedd a gymerasai le ar yr amgylchiad, yr hyn oedd yn brawf digonol o'i ddwyfol anfoniad; ond eto yn lle ymostwng i'r gwirionedd, wele hwy nid yn unig yn gwrthod y gwir eu hunain, eithr hefyd yn ymdrechu ei gelu oddiwrth ereill, trwy ffug a thwyll-chwedl o'r afresymolaf."

Wedi darllen y dernyn blaenorol y mae yn naturiol gofyn,

Mynegu i bwy?—I'r "milwyr," os credwn y geiriau megis y maent ar lawr; ond nid oes synwyr yn hyny, canys ni fu yr Arglwydd Iesu erioed yn ymddiddan â'r milwyr ar y pwnc; ond bu yn son wrth yr Iuddewon.

"Yr hon ni chynygiasant mo'i gwadu."—Pwy?—Y "milwyr" eto yn ol y frawddeg, er mai am yr Iuddewon y dylid meddwl.

"Yr hanes a gawsant am y gwyrthiau.—Pwy? "y milwyr," yn ol ffurf y frawddeg, er mai am yr Iuddewon y dylid meddwl.

"Yr hyn oedd yn brawf digonol o'i ddwyfol anfoniad."—Pwy?—Yr Arglwydd Iesu a ddylid feddwl, eithr nid ydyw y blaenydd *(antecedent)* i "o'i" yn ddigon eglur.

"Wele hwy nid yn unig yn gwrthod y gwir eu hun-

ain."—Pwy?—Y "milwyr" o hyd, er mai yr Iuddewon a ddylid olygu.

Y mae yr holl ddyryswch yma wedi ei achosi drwy beidio cadw golwg ar y rhai y sonid am danynt, a dodi y blaenydd (*antecedent*) yn ei le priodol.

Onid gwell fuasai y brawddegau yn y dull canlynol?

"Ni ddichon gelyniaeth dynion, grym eu hanghrediniaeth a'u caledwch mewn pechod ymddangos yn fwy ysgeler mewn un lle nag yn ngwaith yr Iuddewon yn ceisio celu adgyfodiad Iesu, trwy roddi arian i'r milwyr ag oeddynt yn tystiolaethu am hyny. Gwedi i'r Arglwydd Iesu fynegi i'r Iuddewon y byddai iddo adgyfodi, a'r dystiolaeth a roddodd y milwyr fod hyny wedi cymeryd lle, yr hon ni chynygiodd yr Iuddewon ei gwadu, yn nghyd â'r hanes a gawsant am y gwyrthiau a'r nerthoedd rhyfedd a gymerasai le ar yr amgylchiad, yr hyn oedd brawf digonol o ddwyfol anfoniad yr Arglwydd Iesu Grist."

Wele yn canlyn engraff o bethau yn cael eu cymysgu yn ddidrefn dros ben o herwydd yr esgeulusdra a grybwyllwyd,—

Dydd Iau cafodd dau ddyn a yrent wartheg i Smithfield, (er yr ymddangosent yn sobr yr hyn sydd yn gwneud y peth yn waeth) eu gwthio yn erbyn tŷ yn Ham's Lane, a thorasant ffenestr y masnachdy (a gwnaethant ddrygau ereill heblaw hyny) drwy yr hyn y lladdwyd un o honynt wrth syrthio ar ryw folltau llymion o haiarn oedd o flaen y tŷ! Nid ymddangosent pa fodd bynag fel rhai yn meddwl fawr am y peth gwarthus hwn, ond i'r gwrthwyneb tafodasant y perchenogion, y rhai, pa fodd bynag a fynasant eu cael i swyddfa yr heddgeidwaid, a daliasant y gwartheg (wedi iddynt yn gyntaf anfon yr un farw mewn trol i fuarth Mr. Salases, gerllaw) a chawsant yn fuan eu bwrw i garchar Newgate, fel yr oeddynt yn haeddu am y weithred waradwyddus hon. Dygwyddodd hyn am ddeg o'r gloch y bore ar y diwrnod a fynegwyd o'r blaen, ac enwau y personau y torwyd eu ffenestri yw John Kraubman a'i Gyf., un o honynt a fu agos a chael ei ladd, pan aeth allan, y fath oedd cyflwr yr anifeiliaid gwallgof hyn! Y mae yn hyfryd meddwl, pa fodd bynag, y gorfydd iddynt ddyoddef (ac nid oes un ddadl na fydd raid iddynt) gosbedigaeth gyfiawn eu trosedd gwarthus a diesgus."

Nid oes yn yr hanes blaenorol ond ychydig iawn o ddygwyddiadau, ac eto y fath bentwr o gymysgedd sydd ynddo, Dywedir yn gyntaf, er fod y buchod yn sobr fod dau ddyn wedi eu gwthio yn erbyn tŷ fel y lladdwyd un o honynt—iddynt dafodi perchenogion y gwartheg wedi hyny fod y buchod wedi cael eu hanfon i Newgate, mai anifeiliaid gwael yw y dynion, Kraub-

man a'i Gyf. Ac yn ddiweddaf fod yn hyfryd meddwl y bydd i'r gwartheg, neu y Kraubmans, oblegid y mae yn amheus pa un, gael eu cosbi. Pe buasai gan ddyn a ysgrifenai fel hyn ystori lle buasai hanes deuddeg o bersonau i gael ei hadrodd, yn nghyd a son am gŵn, gwartheg, ceffylau, a cherbydau, ni allasai byth wneud ei hun yn ddealladwy.

Nid oes dim haws nag adrodd yr hanes os cedwir yr hyn a gymerodd le mewn golwg; megis, y gwelir yn wyneb y talfyriad canlynol :—

"Deg o'r gloch bore ddydd Iau, darfu i ddau gydymaith oedd yn gyru gwartheg i Smithfield, eu gyru yn erbyn tŷ Meistri Kraubman a'i Gyf., yn Ham's Lane, drwy yr hyn y torwyd y ffenestr, a chafodd un o'r anifeiliaid truain ei ladd gan y bolltau haiarn llymion sydd o flaen y tŷ. Y ddau anfadwr, er yr ymddangosent yn sobr, yn lle dangos un math o ofid, a dafodent Meistri Kraubman, ond mynasant hwy gymeryd y ddau i fynu, ac anfonwyd hwy i swyddfa yr heddgeidwaid. Gwnaed eu carchwarant allan o law, ac y maent yn bresenol yn Newgate. Y mae Meistri Kraubman, un o ba rai, yn y cythrwfl cyntaf, fu agos a chael ei ladd, wedi cymeryd meddiant o'r gwartheg—anfonwyd ysgerbwd yr un a laddwyd i Mr. Sale, yr hwn sydd yn byw gerllaw."

Gymaint eglurach yw yn y dull diweddaf na'r cyntaf.

Teilynga yr Hysbysiad canlynol sylw :—

"Y mae Thomas a John Harp, 26, Bolt-street, yn hysbysu eu prynwyr lluosog eu bod hwy wedi cymeryd y gwaith mawr yn Rhif 10, Screw-street, yr hwn oedd yn ddiweddar, yn meddiant Hanmer a'i Gyf., er helaethu eu masnach ac yn gobeithio y byddant yn awr yn alluog i foddhau eu dysgwyliadau penaf, gan y cyflwynant y cyntaf yn gwbl oll at werthiant celfi yn eu dull arferol, a'r diweddaf yn hollol at wneuthur hoelion, er cyfleusdra prynwyr yn y wlad, am yr hyn y maent wedi bod mor nodedig am y pymtheg mlynedd sydd wedi myned heibio."

Gwelwn yma fod yr Hysbyswyr yn dyweud fod eu prynwyr wedi cymeryd y gwaith mawr Rhif 10, Screw Street, er helaethu masnach Hammer a'i Gyf. Y maent yn gobeithio hefyd y byddant yn alluog i foddhau dysgwyliadau penaf Hammer a'i Gyf., ac y maent yn diweddu drwy ein hysbysu eu bod wedi bod yn nodedig am roi cyfleusdra i brynwyr yn y wlad am bymtheng mlynedd, er mai am wneuthur hoelion y meddyliant.

Rhydd yr Hysbysiad yn y ffurf a ganlyn feddwl yr Hysbyswyr yn eglur :—

"Y mae Thomas a John Harp, Rhif 26, Bolt-street, yn hysbysu eu bod hwy er helaethu eu masnach wedi cymeryd y gwaith mawr yn Rhif 10, Screw-street, oedd yn ddiweddar yn meddiant Hanmer a'i Gyf. Hydera Thomas a John Harp y byddant yn alluog i foddhau y dysgwyliadau penaf, gan y cyflwynant y tŷ yn Bolt-street yn hollol at werthu celfi yn eu dull arferol, a'r sefydliad newydd yn hollol at werthu hoelion. Gan iddynt fod am bymtheg mlynedd yn nodedig yn y gangen hono gallant yn bresenol roi mwy o gyfleusdra i brynwyr yn y wlad."

Wele yn canlyn engraffau o aflerwch :—

"Cynygir pum punt o wobr am ddal Mr. Patrick O. Flaherty, yr hwn wythnos i ddydd Mercher diweddaf a ladrataodd asyn, yr hwn oedd ganddo bâr o lodrau *corduroy*, llygaid gleision croesion, un ysgwydd o'i lle, un esgid o dan ei sawdl, ac yn frychni haul drosto."

Yn ol cyfansoddiad y frawddeg yr asyn oedd yn gwisgo y llodrau *corduroy*, &c. Pe buasai fel y canlyn gallesid ei deall yn gywir :—

"Cynygir pum punt o wobr am ddal Mr. Patrick O. Flaherty, yr hwn wythnos i ddydd Mercher diweddaf a ladrataodd asyn, yr oedd gan Patrick O. Flahert bâr o lodrau *corduroy*, &c.

"Cipiodd yr haner coron oddiar y bachgen yr hwn a lyncodd," sef, y bachgen yn ol trefniad geiriau, a lyncwyd.

"Prynwch geiniogwerth o daneni (*matches*) gan hên ddyn a wnaed o goed tramor," yr hên ddyn oedd wedi ei wneud o goed tramor yn ol y frawddeg.

Y mae un mater arall y dylid sylwi arno yn nglŷn â hyn, sef, yr angenrheidrwydd o ddosbarthu nwyddau a chelfi yn briodol. Pethau anaddas ar yr un plad fyddai afal a brithyll; a phethau annghymwys iawn yw arwyddfyrddau (*signs*) fel y canlyn : —

"Y mae pytatws, trapiau llygod, a llysiau ereill ar werth yma."

"Biblau a chig moch; llyfrau da a gwimbilliau; Testamentau a thriagl ar werth yma."

Dylasai y llysiau fod gyda'u gilydd yn yr engraff gyntaf; a'r llyfrau fod ar eu penau eu hunain yn yr ail.

"Barnes a'i fab. Y mae gwaith gof ac eilliwr yn cael ei wneud yma; pedolir ceffylau ac eillir; adgyweirir cloiau a thrinir gwallt; gwaedir a thynir danedd, a phob gwaith arall perthynol i feddyginiaeth anifeiliaid."

Gwel y darllenydd mai wedi eu cam-ddosbarthu y mae y pethau uchod. Nid llawer gwell trefn sy gan lawer un i adrodd ei feddwl yn gyhoeddus nag sydd yn y darnau a nodwyd.

### CYFUNEDD.

Y peth nesaf a ddylid ei ddwyn o dan sylw yw cyfunedd (*unity*). Gall brawddeg gynwys rhanau, ond dylai y rhanau hyny fod wedi eu cydwau mor agos at eu gilydd fel y gwnelont argraff o un gwrthddrych ar y meddwl, ac nid llawer.

Er cynal cyfunedd rhaid ini ofalu am i'r olygfa beidio cael ei newid ond lleiaf y gellir yn ystod y frawddeg. Y mae yn mhob brawddeg ryw berson neu beth yr hwn yw y gair llywodraethol. Dylai hwn gael ei gadw felly os bydd modd hyd y diwedd. Pe byddai i ddyn ddyweud :—

"Wedi ini fwrw angor, rhoisant fi ar y traeth, lle cyfarchwyd fi gan fy holl gyfeillion, y rhai a'm derbyniasant gyda'r caredigrwydd mwyaf.'

Er fod y gwrthddrychau yn ddigon cysylltedig yma, eto, drwy newid yr olygfa mor fynych, a dwyn *ni* a *fi*, a *derbyniasant* i fewn y mae yn ymddangos yn wasgaredig. Os dodir y geiriau fel y canlyn, gwelir y cyfunedd drwy y frawddeg oll, sef,

"Wedi bwrw angor, dodwyd fi ar y lan, lle y cefais fy llon gyfarch gan fy holl gyfeillion y rhai a'm derbyniasant gyda'r caredigrwydd mwyaf."

Peth y dylid sylwi arno hefyd yw yr anmhriodoldeb o dynu pethau i'r un frawddeg sydd yn meddu can lleied o undeb â'u gilydd fel y gellid eu rhanu i ddwy neu dair o frawddegau. Byddai yn well cael amryw frawddegau byrion na hyny. Ystyrir y frawddeg ganlynol yn troseddu y rheol hon :—

"Yr oedd eu mynediad drwy wlad anniwylliedig, trigolion yr hon oedd yn byw yn galed, ni feddent ddim cyfoeth heblaw rhywogaeth o ddefaid teneuon cig y rhai oedd yn gryf ac yn anflasus."

Y mae yr olygfa yn cael eu newid yn ormodol yma, nes y mae y frawddeg yn un gymysgfa, a chan lleied o

berthynas rhwng y naill wrthddrych a'r llall, fel y mae yn anhawdd i'r darllenydd gadw y cwbl o flaen ei lygad ar unwaith.

Y mae rhyw annghyfunedd ac aflerwch rhyfedd yn nghymalau y frawddeg ganlynol:—

"Bod un wedi cael dysgeidiaeth wych, ei feddwl wedi ei feithrin a'i fagu, yn medru byw yn philosophyddaidd, &c., a bod y llall heb weled gwerth dysgeidiaeth, na gweled dim ond ei fwgdwll ei hun, ymddengys y bydd y ddau yma yn dra anaddas i gydfyw heb gyd-darawiad meddwl, profiad, ac ymddiddanion; ac felly y gwael heb adnabod y gwerthfawr."

Gwr a gwraig a geisir ddangos yn yr ymadrodd, ond y mae yr awdwr wedi gwneud y ddau yn wrryw! sef, "Un wedi cael dysgeidiaeth wych, ei feddwl wedi ei feithrin a'i fagu," a'r llall heb weled, "dim ond ei fwgdwll ei hun." Heblaw hyny y mae yr awdwr yn picio gormod yn ol ac yn mlaen, ac y mae yr un peth yn cael ei awgrymu amryw weithiau drosodd nes cymysgu y meddwl. Nid oes un cysylltiad rhwng "bod" ac "ymddengys," oblegid os oedd eisiau i "ymddengys" ymddangos o gwbl, fel hyn y daethai i fewn, "Gan fod un wedi cael dysgeidiaeth wych, a chan fod y llall heb weled gwerth dysgeidiaeth, ymddengys y byddai y y ddau yma yn dra anaddas i'w gilydd."

Un o'r profion goreu o berffeithrwydd brawddeg yw yr anhawsder o ddwyn llawer math o atalnodau iddi.

### NERTH.

Y peth nesaf sydd yn ofynol mewn brawddeg yw nerth, wrth yr hyn y deallir gosodiad y geiriau angenrheidiol a phriodol yn y ffordd oreu i ddangos y meddwl i fwyaf o fantais, er gwneud yr argraff lawnaf a mwyaf digoll, a rhoi i bob gair ac aelod o frawddeg eu pwys priodol. Cyn y cyraeddir hyn rhaid cael eglurder a chyfunedd; ond nid ydyw cael hyny yn ddigon. Dichon i frawddeg fod yn eithaf eglur, ac yn ddigon cyfunol, ac eto fod yn amddifad o nerth.

Er cael nerth gwell gadael allan o frawddeg bob peth a all y meddwl gyflenwi. Er engraff, pe byddai eisiau anfon llythyr at "Joseph Cadwaladr, Yswain, Llanelli,

Sir Gaerfyrddin," byddai y llwybreiddiad uchod yn ddigon; ond gwel y deallus fod amryw eiriau wedi eu gadael allan a allasid eu defnyddio. Y llwybreiddiad pe dodasid ef yn llawn fuasai :—

"*Y mae y llythyr hwn i gael ei ddodi yn llaw* Joseph Cadwaladr, *yr hwn sydd yn* Yswain, *a'r hwn sydd yn preswylio yn* Llanelli, *tref yn* Sir Gaerfyrddin, *Deheudir Cymru.*

Y mae y geiriau afreidiol mewn llythyrenau Italaidd.

Eto, "At Weinidogion ac Eglwysi Cynulleidfäol, Sir Feirionydd," a allasid ei ddodi fel hyn :—

"At *Barchedig* Weinidogion *yr Efengyl, Diaconiaid,* ac aelodau Eglwysi *Crist, perthynol i'r Enwad, neu y Sect Gynulleidfäol, neu* Annibynol, *yn* Sir Feirionydd, *Gogledd Cymru.*"

Eto, "Beth, Dafydd?" Hyny ydyw, "Beth, *a ddywedwyd genyt ti, y mae dy enw yn* Dafydd?"

Pan fyddo dynion yn cymeryd dull cwmpasog fel yr hwn a ddynodwyd wrth lefaru, neu wrth ysgrifenu, a ydyw yn rhyfedd fod yr hyn a adroddir, neu a lefarir yn wanllyd ac yn ddieffaith?

Dylid gofalu am beidio tociaw gormod ar frawddegau; rhaid gadael rhai dail yn nawdd ac yn addurn i'r ffrwyth; ond na fydded y dail yn llawer amlycach na'r ffrwyth. Heblaw gofalu am dynu geiriau afreidiol o frawddegau, dylid gofalu am ddileu aelodau afreidiol o honynt hefyd. Nid oes gwir angen am y rhan ddiweddaf o'r frawddeg ganlynol:—

"Y mae yr olwg gyntaf arni yn llenwi yr enaid â llawenydd, ac yn taenu hyfrydwch drwy ei holl gyneddfau."

Wedi mynegu fod yr enaid yn cael ei lenwi "â llawenydd," afreidiol oedd dyweud fod hyfrydwch wedi ei daenu "drwy ei holl gyneddfau."

Dylid hefyd er cyraedd nerth mewn brawddeg osod y prif eiriau yn y lleoedd y gwnant fwyaf o argraff. Dygwydd fod hyny weithiau yn nechreu ymadrodd; megis,

"Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, wele, mi a estynaf iddi heddwch fel afon, a gogoniant y cenedloedd fel ffrwd lifeiriol: yna y sugnwch, ar ei hystlys y'ch dygir, ac ar ei gliniau y'ch dyddenir."

Gellir waith arall gadw y meddwl mewn dysgwyliad dros ychydig; megis,

"Edrychais ar y tu deau a deliais sylw, ac nid oedd neb a'm hadwaenai: pallodd nodded i mi; nid oedd neb yn ymofyn am fy enaid. Llefais arnat, O Arglwydd, a dywedais, ti yw fy ngobaith, a'm rhan yn nhir y rhai byw."

Rhydd dringeb (*climax*) help i gael nerth mewn cyfansoddiad; sef, dodi geiriau ac aelodau mewn brawddegau i godi naill ar ol y llall. Ceir eglurâd pellach ar hyn eto.

Y mae dodi rhif gormodol neu ry ychydig o Ferfau mewn cyfansoddiad yn tueddu i'w wanychu yn fawr. Nid oes unrhyw ymadrodd yn gyflawn heb Ferf, neu Weithredair, yn arferedig, neu yn ddealledig; ond y perygl sy mewn arfer rhif gormodol neu ry ychydig o Ferfau. Rhif gormodol, megis yn y frawddeg ganlynol:—

"Yno y *darfu* ef *godi* ac y *gwnaeth* efe *ddadguddio* ei hun."

Yn lle,

"Yno y *cododd* efe ac y *dadguddiodd* ei hun."

Dylid dodi y Berfau i gydredeg â'u gilydd fel y canlyn:—

"Iddynt hwy y cyfod*odd* yr Arglwydd broffwydi, yr ymddiried*odd* ei gyfraith, ac yr amlyg*odd* ei hun."

Yn lle,

"Iddynt hwy y cyfod*odd* yr Arglwydd broffwydi, yr ymddiried*wyd* y gyfraith, ac y *gwnaeth* yr Arglwydd amlyg*u* ei hun."

Y mae golwg fusgrell ac annghelfydd ar y frawddeg yn y dull diweddaf. Wele, yn canlyn frawddeg a rhy ychydig o Ferfau ynddi:—

"Lle y gwelwn y gall dynion feddu rhyw fath o wybodaeth, a dwyn sel dros y wybodaeth hono, eto, drwy wrthod gair Duw wneuthur y cyfan yn aflesol.

Dylasai fod fel hyn:—

"Lle y gwelwn y gall dynion feddu rhyw fath o wybodaeth, ac y gallant ddwyn sel dros y wybodaeth hono, eto, drwy wrthod gair Duw, y *gallant* wneuthur y cyfan yn aflesol."

Y mae camarfer *sydd* a *mae* yn tueddu i wanychu cyfansoddiad; megis,

"Yr afradlon, mae yn wir, sydd yn gwastraffu ei feddianau; ond eto

y mae yn cynyg mwynhau ei hun, a gwneud ereill o'i amgylch yn ddedwydd; ond nid ydyw y dyn cybyddlyd yn gwneuthur yr un o'r ddau. Cybydd-dod nid yn unig sydd yn egwyddor ffiaidd yn ei natur, ond hefyd niweidiol i'w deiliaid."

Onid gwell y darllenai fel hyn?

"*Y mae* yr afradlon, y mae yn wir, yn gwastraffu ei feddianau; ond eto y mae yn cynyg mwynhau ei hun, a gwneud ereill o'i amgylch yn ddedwydd; ond nid ydyw y dyn cybyddlyd yn gwneuthur yr un o'r ddau. *Y mae* cybydd-dod nid yn unig yn egwyddor ffiaidd yn ei natur, ond y mae hefyd yn niweidiol i'w ddeiliaid."

Mae gwneud arferiad gormodol o'r *i* mewn brawddegau yn niweidiol; megis, "Os ydoedd yn ddoeth *i* gyfodi y fath wrthglawdd;" yn lle, "Os ydoedd yn ddoeth cyfodi y fath wrthglawdd." "Ac *i* fod y fath gysylltiad;" yn lle, "Ac fod y fath gysylltiad." "Yr oedd wedi penderfynu *i* ymdrechu;" yn lle, "Yr oedd wedi penderfynu ymdrechu." "Yr oedd wedi penderfynu *i* fyned;" yn lle, "Yr oedd wedi penderfynu myned."

Lle byddo dau beth mewn aelod o frawddeg yn cael eu cydmaru, neu eu gwrthgyferbynu, pa un bynag a fydd rhyngddynt debygrwydd neu wrthwynebrwydd, dylai fod rhyw debygrwydd yn yr iaith a'r cyfansoddiad. Gwelir y peth yn wyneb y difyniad canlynol, gyda golwg ar Homer a Virgil:—

"Homer oedd yr athrylithur mwyaf, a Virgil y celfyddydwr goreu; yn un yr ydym yn rhyfeddu y dyn, yn y llall, y gwaith. Y mae Homer yn ein gyru yn mlaen gyda thanbeidrwydd gorchymynol, a Virgil yn ein harwain gyda mawreddogrwydd tyniadol. Y mae Homer yn gwasgaru gyda gorddigonedd haelfrydig; y mae Virgil yn cyfranu gyda gorwychder diofal. Y mae Homer fel y Nile, yn tywallt ei oludoedd gyda dylif sydyn; y mae Virgil fel afon rhwng ei cheulanydd yn gwneud hyny gyda ffrwd barhaus. A phan edrychom ar eu peirianau, ymddengys Homer fel ei Iau ei hun yn ei frawychiadau, yn ysgwyd Olympus, yn gwasgar y mellt, ac yn tanio y nefoedd. Y mae Virgil, fel yr unrhyw allu, yn ei haeledd yn ymgynghori â'r duwiau, yn gosod cynlluniau i ymerodraethau ac yn trefnu ei holl greadigaeth."

Y mae mewn ymadroddion fel y rhai blaenorol, pan arferir hwy gyda phriodoldeb, brydferthwch tyniadol a theimladol; ond os gwneir defnydd rhy fynych o'r dull a nodwyd â'n unffurfiaeth annymunol, ac yn gyddarawiad geiriau, yr hyn a flina y glust ac a ymddengys fel rhodres.

Cyngor un awdwr i gyfansoddwyr ieuainc oedd, iddynt adael eu cyfansoddiadau mewn cist haiarn am saith mlynedd o leiaf cyn eu cyhoeddi. Pe gwnelid hyny, ymddangosai llawer o draethodau yn hollol wahanol i'r peth ydynt. Dichon nad ydyw yn beth hysbys yn gyffredin, y cymerir mwy o amser i gyfansoddi llythyr neu draethawd byr o ran ei hyd, a chryno o ran ei adeiladaeth, nag un hir a llac yn ei gymalau; megis, y dywedai un wrth ei gyfaill, yn ddiweddar, "Pe buasai genyf ychwaneg o amser ysgrifenaswn yn fyrach."

Bai amryw gyfansoddwyr yw diofalwch hollol. Prin yr edrychant dros eu hysgrifau yr ail waith, cyn eu hanfon i'r wasg; a dyna yr achos fod yn Gymraeg gynifer o gyfansoddiadau anmrwd, y rhai a barant niwaid mawr i chwaeth yr oes. Pa beth ond diofalwch perffaith a barasai i'r fath frawddegau a'r rhai canlynol gael ei gollwng drwy y wasg?

"Dygwyd y newydd am y dymestl ofnadwy a'r rhuthr erlidigaethus ag oedd wedi tori allan yn erbyn yr Eglwysi, a ddechreuasai mor echryslawn yn Rhufain."

Yn ol y cyfansoddiad hwn yr Eglwysi oedd wedi dechreu rhywbeth "mor echryslawn yn Rhufain," ac nid "y dymestl ofnadwy." Onid gwell fuasai fel hyn?

"Dygwyd y newydd am y dymestl ofnadwy a ddechreuasai mor echryslawn yn Rhufain, a'r rhuthr erlidigaethus oedd wedi tori allan yn erbyn yr Eglwysi."

Pwy a all wneud synwyr o'r frawddeg ganlynol?—

"Ond drwy drugaredd ymwelodd yr Arglwydd â ni eto. Credwn yn gydwybodol nas gellir ei briodoli i neb arall."

Priodoli pa beth?

"Bu y troi yn achos o ychwanegu llawer o glod i'r amrywiol ymgeiswyr."

Troi pa beth? Ni fynegir yn y frawddeg.

Pa beth a feddylir wrth "amryw*iol* ymgeiswyr?" Gwyddom beth yw *amryw*; sef ychwaneg nag un. Onid ymgeiswyr o wahanol rywiau yw "*amrywiol* ymgeiswyr?" Y mae yn ddiau genym mai nid hyny a feddyliai yr ysgrifenydd; canys rhai o'r un rhyw, sef, *gwr*-ryw oedd yr ymgeiswyr, os am droi tir y meddyliai yr ysgrifenydd. Amryw, *various;* amryw*iol*, *miscellaneous.*

CYSONDEB.

Y mae cysondeb yn nghyfansoddiad brawddeg yn gynwysedig yn rhediad llyfn ac esmwyth ei geiriau a'i haelodau. Er cyraedd hyn dylid sylwi yn neillduol ar ddetholiad a threfniad geiriau, gan ddewis y rhai hyny na ddisgynant yn graslyd ar y glust, a gofalu na byddo diweddiad y frawddeg yn fyrbwyll nac yn anmherseiniol. Ymddengys cysondeb yn y ddwy frawddeg ganlynol yn brydferth,

"Yn mysg y dail a'r rhosynau y chwareua yr awelon, gan wasgaru eu hyfrydaf berarogl wrth gyd ysgwyd eu hadenydd."

"Y mae hyd yn nod y Gauaf duoer pan yn ei fantell lwyd-ddu, yn tramwyo trwy y gwledydd ar olwynion y dymestl yn wasanaethgar i'r Amaethydd, er ei fod weithiau yn rhuo nes dystewi cantorion y goedwig, ac yn gwgu nes peri i'r huan seiriandeg groes-edrych yn gornelog wrth raddol ymgilio i ororau y Gorllewin, y mae yn gyfaill i'r Amaethydd."

O dan y pen hwn gellir sylwi fod swn y geiriau a arferir mewn brawddegau, weithiau yn ddarlun o'r gwrthddrychau, yn enwedig mewn barddoniaeth; megis y gwelir yn y difyniadau canlynol o Goll Gwynfa, lle y darlunir pyrth uffern a phyrth y Nef yn agor; sef, pyrth uffern.

"———Trwy nerth chwim agorynt gan
Chwyrn encil a chan drydar cras y pyrth
Uffernawl, ar eu col o rygnu croch
Daranau hyd nes crynai isaf sawdd
O Abred."

Dyna erwinder; ond craffer ar lyfnder y geiriau a ganlyn am byrth y Nef,

"———Llydan yr agorai Nef
Ei bythawl byrth, ar golion aur yn troi."

Ac nid ydyw y llinellau canlynol yn fyr o ddangos yr un peth; y cyntaf i'r rhaiadr, a'r ddwy linell olaf i'r afon,—

"Uchelgadr raiadr dw'r ewyn,—hydrwyllt
Edrych arno 'n disgyn,
Crochwaedd y rhedlif crychwyn,
Synu pensyfrdanu dyn."

"Elfen deneu ysplenydd,
Lyfndeg yn rhedeg yn rhydd."

### YR &c., &c., &c.

Dylid gochel y nod *&c.*, sef, "ac felly yn mlaen," fel y gelyn penaf i gyfansoddiad. Os arferir y ffon fagl hon, bydd cyfansoddiad bob amser yn gloff. Y mae arfer y nod yma yn un o'r profion amlycaf o ysgrifenydd gwael, salw, ac anwybodus. Nid all y fath awdwyr trwsgl a thruenus fyned drwy ugain llinell hebddo; ac y maent yn meddwl ei fod yn gynorthwy mawr i gyfansoddi yn gywir. Anfynych y cyfarfyddir â'r nod hwn yn ngwaith unrhyw awdwr a ŵyr beth yw cyfansoddi yn rheolaidd. Cyfrifasom mewn un tu dalen wythplyg, lle nad oes dros bedair-ar-ddeg a deugain o linellau, NAW "ac felly yn mlaen," [&c.], yr hyn a ddengys ar unwaith drueni athrylith, a diffyg synwyr yr hwn a'u hysgrifenai.

### YSTWYTHDER MEWN CYFANSODDIAD.

Pwnc y dylid talu sylw iddo hefyd yw ystwythder mewn cyfansoddiad, sef, ei fod yn hollol rydd oddiwrth bob geiriau taglyd a chlogyrnaidd digon i hollti esgyrn yr ên wrth eu hadrodd. Prif ragoriaeth, neu hynodrwydd ambell awdwr yw ei glogyrneiddiwch; sef, ei waith yn gosod geiriau wrth eu gilydd, yn yr unig ffordd annghymalog iddynt beidio cael eu darllen gan y bobl gyffredin, na'u deall gan y rhai a'u darllenont.

Nid ydyw darllen ar y goreu yn waith y mae neb yn ei chwenychu o'i ran ei hun; gwell fyddai gan bawb, pe gallent, gyraedd gwybodaeth heb orfod myned i'r boen o ddarllen. Y mae y geiriau "Darllen llawer sy flinder i'r cnawd," mor wir heddyw ag oeddynt yn nyddiau Solomon; gan hyny, dylid cyfansoddi yn y ffordd fwyaf enillgar a dyddorawl, ac nid chwilio, fel pe byddid yn fwriadol am y dull mwyaf tywyll, clogyrnaidd a garw i osod y meddwl allan. Achosir anystwythder mewn cyfansoddiad ambell waith drwy arfer geiriau amrosgo a ddylasent gael eu claddu gyda hanes y Tylwyth Teg, a Gwrach y Rhibyn, er ys blyneddau. Waith arall, drwy beidio meddalu y cydseiniaid meddaladwy pan yn dilyn Arddodiaid; megis, "Ewch at

Meurig oddiwrth Llywarch i chwilio am Tomas dros Gwilym." Yr hyn a ddylasai fod, "Ewch at *F*eurig oddiwrth *L*ywarch i chwilio am *D*omas dros *W*ilym." Eto, "Dymunais ar Cadwgan ddangos i Powel fod cynwysiad y llyfr yn tu dalen 200." Yr hyn a ddylasai fod, "Dymunais ar *G*adwgan ddangos i *B*owel fod cynwysiad y llyfr yn n*h*u dalen 200."

Peth arall a ystwythai gryn lawer ar frawddegau fyddai gadael yr *dd* allan o *sydd* mewn rhai amgylchiadau; megis, pan fyddo y geiriau dilynol iddo yn dechreu â chydsain; er engraff, "sydd dros," "sydd drwm," "sydd bell;" onid ystwythach fyddent "sy dros," "sy drwm," "sy bell?" Gwnai yr *dd* yn burion pan fyddai *sydd* yn cael ei ddilyn gan lafariad; megis, "sydd enwog," "sydd arnom," ond gellid ei dileu o flaen geiriau a ddechreuont â llafariad fel hyn, "sy'n enwog," "sy'n weithgar."

Gellir bwrw yr *ag* heibio hefyd mewn ymadroddion fel y canlyn, "Megis *ag* y dywedodd." "Fel *ag* yr oedd yn rhodio," a'u hysgrifenu, "Megis y dywedodd." "Fel yr oedd yn rhodio."

Y mae amryw bethau ereill yn dal perthynas ag ystwythder mewn cyfansoddiad a allesid eu crybwyll, ond hyderir y dysga clust y darllenydd iddo sylwi ar y mater yn mhellach.

---

## IEITHWEDD.

Ieithwedd (*style*) yw y dull y gosodir y meddwl allan ar lafar neu drwy ysgrifen; ac er fod hyn wedi cael ymdrin ag ef i ryw raddau yn yr adranau blaenorol, eto, gellir ychwanegu at y sylwadau a wnaed er hyfforddiad pellach i'r Efrydydd.

Rhana rhai Ieithweddau fel y canlyn:—yr Ieithwedd Gryno, y Wasgaredig, y Gref, y Wan, yr Eglur, y Sych, y Ddillyn, y Brydferth, y Flodeuog, y Syml, yr Angerddol.

Barna Dr. Johnson, os gallwn gasglu oddiwrth ei

ragymadrodd i fywyd Dryden, y gellir eu crynhoi i bedair. Dyma fel y dywed y Doctor,

"Y mae gan bob iaith goethedig amryw Ieithweddau, y Gryno, yr Helaeth, yr Uchel, a'r Isel."

Y mae Blair dros y nifer flaenaf. Lle byddo athrylith, tueddir hi yn naturiol at y naill neu y llall o'r Ieithweddau a nodwyd; ac y mae y gwahaniaeth sy rhwng awdwyr o athrylith yn fynych yn fwy yn eu Hieithweddau nag yn ngalluoedd eu meddyliau; oblegid, mewn gwirionedd, ychydig o wahaniaeth sy rhwng dynion o athrylith â'u gilydd, pan elir i'w chwilio yn fanwl, oddigerth yr hyn sydd yn eu chwaeth a'u Hieithweddau.

### YR IEITHWEDD GRYNO A'R WASGAREDIG.

Y mae awdwr yr Ieithwedd Gryno yn gosod ei feddyliau mewn can ychydiced o eiriau ag y byddo modd; nid ydyw yn defnyddio ond y geiriau mwyaf grymus; ysgythra ymaith y rhai nad ydynt yn ychwanegu at y synwyr. Os dwg efe ryw addurn i fewn gwna hyny yn fwy er mwyn nerth nag er mwyn prydferthwch. Nid â byth dros yr un meddylddrych ychwaneg nag unwaith. Y mae efe yn astudio y crynöad mwyaf manwl yn nghyfansoddiad ei frawddegau, a bwriedir iddynt yn gyffredin awgrymu mwy i ddychymyg y darllenydd nag y maent yn ei fynegu.

Y mae yr hwn a ddefnyddia yr Ieithwedd Wasgaredig yn dadblygu eu feddyliau yn llawn. Y mae yn dal ei feddwl allan mewn gwahanol oleu, ac yn helpu y darllenydd i'w amgyffred yn drwyadl. Nid ydyw efe yn awyddus iawn am ei osod allan y tro cyntaf yn ei lawn nerth; oblegid y mae efe yn bwriadu ail fyned dros y peth; ac y mae yn ymdrechu gwneud i fyny â geiriau yr hyn y mae efe yn ddiffygiol ynddo o ran nerth. Y mae ei ymadroddion ef yn myned yn faith yn naturiol; a chan fod ganddo ddigon o le i addurn o bob math y mae efe yn rhoddi derbyniad iddo. Y mae gan bob un o'r ddwy Ieithwedd ei manteision a'i hanfanteision; ac y mae pob un o honynt yn feius pan gerir y naill neu y llall allan yn rhy bell.

Cyn y deallir pa bryd i'w harferu rhaid ystyried natur y cyfansoddiad. Y mae yr hyn a draddodir yn gofyn mwy o'r Ieithwedd Wasgaredig na'r hyn a ysgrifenir. Goreu pa grynöaf y byddo peth ar bapur, oblegid bydd mwy o fywyd ynddo felly, a cheidw y sylw yn fwy dyfal, gwna fwy o argraff ar y meddwl, a rhydd fwy o hyfrydwch i'r darllenydd. Pan fyddwn yn dymuno taro y dychymyg, neu gynhyrfu y galon, rhaid ini fod yn gryno; ond pan fyddwn am oleuo y deall, gwell i ni fod yn llawn. Gall hanes fod yn brydferth naill ai yn gryno neu yn llawn, yn ol fel y byddo tuedd yr awdwr. Pe byddid am ddyweud hanes llong, ni fyddai angen ini fynegu yn mha le y tyfodd ei choed; na pha sawl piogen a fu yn nythu yn eu brigau; na pha sawl blwyddyn y bu y coed ar eu traed; na phwy oedd y dynion a'u torodd i lawr; na phwy fu yn eu llifio; ac yn naddu ac yn hoelio yr estyll wrth eu gilydd. Ni fyddai angen ychwaith am fynegu yn mha le y cafwyd defnydd y bolltau haiarn a'r hoelion; nac yn mha le y tyfodd y cywarch i wneud y rhaffau; na phwy fu yn gwau y llian i wneud yr hwyliau, na chanoedd o fân bethau ereill perthynol iddi, os na fyddid yn dewis cymeryd y drafferth afreidiol a diddiolch yma. Boddlonid y darllenydd â llai o lawer o hanes os mynegid y prif pethau angenrheidiol yn nghylch y llestr. Byddai crybwyll nifer gormodol o bethau amgylchiadol yn debyg o ddyrysu y meddwl a gwneud yr hanes yn hollol ddiflas.

### YR IEITHWEDD GREF A'R WAN.

Y mae sylfaen Ieithwedd Wan yn null awdwr o feddwl; os bydd ef yn cymeryd gwrthddrych i'w feddwl gyda grym bydd yn sicr o'i osod allan yn nerthol; ond os na fydd wedi cael ond rhyw gip olwg arno ymddengys hyny yn ei Ieithwedd wrth ymdrin ag ef. Gwna ddefnydd o eiriau llac a diystyr heb yn wybod iddo ei hun; bydd ei ymadroddion yn wanllyd ac yn wasgaredig, a'i drefn yn wael ac yn aneglur, a bydd ein hamgyffredion yn nghylch ei olygiadau yn gymysglyd

ac yn dywyll. O'r ochr arall rhydd yr hwn a fyddo yn ysgrifenydd cryf, bydded ei Ieithwedd yn gref neu yn wan, ini feddylddrych cryf o'i syniadau; drwy fod ei feddwl yn llawn o'i destun; bydd ei eiriau yn gryfion ac yn argraffiadol; bydd pob ymadrodd a throellymadrodd a ddefnyddia yn gwneud y darlun a esyd o'n blaen yn fwy tarawiadol a chyflawn. Rhaid cofio hefyd fod talu gormod o sylw i gryfder ar y draul o esgeuluso pethau ereill yn gwneud ysgrifenwyr yn graslyd ac yn arw. Y mae gerwinder yn tarddu o'r arferiad o eiriau annghynefin, y rhai a lusgir i ymadroddion er ceisio gwneud iddynt ymddangos yn gryfion, pan na fyddir mewn gwirionedd, ond yn "tywyllu cyngor âg ymadroddion heb wybodacth."

Llusgir geiriau swnfawr gan ysgrifenwyr ieuainc pan fyddant yn ymdrin â'r pethau mwyaf cyffredin; megis, aidd, bydysawd, cysawd, huan, gwawl, anhywerth, helaethbwys, Rhi, lluched, hyall, ystyrbwyll, weilgi, geinbwyll, pryd y gellid cael geiriau ereill a atebent lawn gwell dyben. Y mae gan ein duwinyddion hefyd restrau o eiriau y byddai yn dda gweled dydd eu tranc-edigaeth, neu i'r rhai a'u harferant roddi eglurhad arnynt i'w gwrandawyr; megis, "cyfansoddiad cyf-ryngol," "ewyllys lywyddol," "gweinyddiad allanol," "gwahanol berthynasau," "sefyllfa gyfansoddiadol," "defnyddiau cyfansoddawl," "drwg cymdeithasol," a llu mawr iawn rhy faith i'w henwi. Nid ydym yn meddwl collfarnu arferiad cymedrol o eiriau annghynefin, ond y mae llwytho pob pregeth â'r cyfryw heb fod yn y dyn a'u harfero ddim i'w hynodi oddiwrth ereill, ond ei waith yn arfer geiriau o'r fath yn beth eithaf ffol a hollol anfuddiol. Pobl ieuainc yn gyffredin sydd yn ymestyn at arferion fel hyn. Y mae profiad a chynydd gwybodaeth yn dwyn dynion yn fwy syml ac eglur gyda phob peth.

### YR IEITHWEDD SYCH A'R DDIADDURN.

Y mae yr Ieithwedd sych yn ymwrthod â phob math o addurn. Os caiff ysgrifenydd yn y dull hwn le i

feddwl fod ei waith yn ddealladwy ni ymgyraedda at foddhau y dychymyg na'r glust yn y radd leiaf. Nid ydyw hyn yn oddefol hyd yn nod mewn ysgrifau hyfforddiadol, os na fydd ynddynt fater cadarn iawn, ac iaith dda ac eglur. Gweithredoedd cyfreithwyr sydd yn fwyaf cymwys i'r Ieithwedd hon.

Y mae Ieithwedd ddiaddurn yn codi un gradd yn uwch na'r sych. Nid ydyw awdwr yn y dull hwn yn defnyddio ond ychydig iawn os dim addurn; gorphwysa agos yn gwbl ar y synwyr. Ond er nad ydyw yn ein difyru gyda'r gelfyddyd berthynol i gyfansoddiad, gofala am beidio a'n diflasu megis y gwna ysgrifenydd sych a garw. Y mae efe yn gofalu am eglurder, priodoldeb, a phurdeb iaith, yn nghyd a manylder, yr hyn a â yn o bell tuag at brydferthwch. Y mae modd hefyd bod yn fywiog ac yn rymus yn yr Ieithwedd ddiaddurn, a gall awdwr o'r fath, os bydd ei ymadroddion a'i syniadau yn dda, fod yn ddigon boddhäol. Y gwahaniaeth rhwng ysgrifenydd sych ac ysgrifenydd diaddurn, yw fod y cyntaf yn analluog i ysgrifenu yn addurniadol, a'r diweddaf heb ymgais at hyny.

## YR IEITHWEDD DDILLYN.

Yr Ieithwedd nesaf a ddaw o dan ein sylw yw yr un ddillyn. Yr ydym yn bresenol yn cael ein codi i dalaeth yr addurn, ond nid ydyw yn addurn o'r dysgleirdeb mwyaf. Y mae ysgrifenydd yn y dull yma, drwy ei ddewisiad o eiriau, yn dangos nad ydyw efe yn dirmygu prydferthwch iaith; gwelir hyny yn ngosodiad destlus ei eiriau yn nghyd. Y mae ei frawddegau, bob amser, yn rhydd oddiwrth eiriau afreidiol, ac o hyd canolig; yn tueddu at fyrder yn hytrach nag at chwyddo yn fawr; a diweddant gyda phriodoldeb. Y mae amrywiaeth yn ei ddisgynsain, ond nid oes ynddi arwydd fod y peth wedi ei ragfeddwl. Y mae ei ffugyrau, os arferir rhai, yn fyr ac yn gywrain, yn hytrach nag yn hyf ac yn dysgleirio. Gallai dyn, nad ydyw ei ddychymyg neu ei athrylith yn gryf iawn, gyraedd yr Ieithwedd yma drwy sylw a diwydrwydd. Nid ydyw

y dull hwn yn anmhriodol i unrhyw destun. Gallid cyfansoddi llythyr neu bapur cyfreithiol ar y testun sychaf yn ddillyn; a darllenai pregeth neu draethawd athronyddol yn yr Ieithwedd ddillyn gyda boddhad.

### YR IEITHWEDD BRYDFERTH.

Y mae Ieithwedd brydferth yn caniatâu gradd uwch o addurn na'r un ddillyn; ac y mae yn meddu holl rinweddau addurn, heb unrhyw o'i heithafion neu ei diffygion. Y mae prydferthwch cyflawn yn cynwys eglurder mawr a phriodoldeb; purdeb yn newisiad geiriau, a gofal a medrusrwydd yn eu trefniad cyson a dedwydd. Y mae yn cynwys yn mhellach hefyd brydferthwch y dychymyg wedi ei daenu dros yr Ieithwedd, can belled ag y goddefa'r testun hyny, yn nghyd a'r holl egluriadau a ganiatâ iaith ffugyrol, pan fyddo yn cael ei defnyddio yn briodol. Ysgrifenydd prydferth, mewn gair, yw un sydd yn hyfrydu y dychymyg a'r glust wrth oleuo y meddwl; a'r hwn a wisga ei feddylddrychau gyda holl brydferthwch iaith, ond sydd heb eu gorlwytho gydag un gwychder afreidiol.

### YR IEITHWEDD FLODEUOG.

Y mae Ieithwedd flodeuog yn cynwys gormodedd o addurn. Y mae hyn mewn cyfansoddwr ieuanc nid yn unig yn lled faddeuadwy, ond y mae weithiau yn brawf o athrylith gref a dychymygol. Ond er y gellir caniatâu hyn i ieuenctyd yn eu hymdrechion cyntaf, ni ddylai gael cymaint o oddefiad mewn rhai fyddont wedi cael mwy o brofiad. Dylai barn ynddynt hwy roi atalfa ar ddychymyg gormodol, a'u dysgu i fwrw ymaith bob addurn anmhriodol. Y mae iaith ysplenydd (?) rhai areithwyr ac ysgrifenwyr yn wir ddirmygus. Llawnder o eiriau, yn gyffredin, sy gan y fath yma, ac nid helaethrwydd o feddylddrychau, nac o ddychymyg. Tramwyant fynydd a dôl; nant a bryn; y graig a'r cwmwl; Dwyrain a Dê am flodau, a gosodant hwy ar draws eu gilydd, nes y bydd llygaid yr anwybodus a'r *diddysg* yn britho yn yr olwg arnynt. Dywedai

Robert Hall nad allai neb ymborthi ar flodau. Y mae y fath beth ag i ddyn ddallu dynion drwy hyn, fel y bydd awdwr yn y niwl yn peri i'w darllenwyr dybied mai yn uchel iawn y bydd pan fyddo o'r golwg. Dywedai Robert Hall am un awdures, "Ei bod hi bob amser o'r golwg, nid am ei bod yn ehedeg yn uchel, ond o herwydd ei bod yn ehedeg mewn niwl a thywyllwch."

### YR IEITHWEDD SYML.

Y mae y gair syml (*simple*) mewn arferiad pur gyffredin, gyda golwg ar lefarwr ac ysgrifenwr; ond y mae yn cael ei arferu yn llac ac yn ddiystyr iawn yn fynych. Efallai na fyddai yn anfuddiol gwneud rhai sylwadau ar y gair syml fel y gweler y priodoldeb o'i arferu pan sonir am Ieithwedd.

Y symledd cyntaf yw symledd cyfansoddiad, yr hyn sydd yn wrthgyferbyniol i amryw o ranau. Y mae symledd yn yr ystyr yma yr un peth ag unedd.

Yr ail symledd yw symledd meddwl, yn wrthgyferbyniol i goethiad. Meddyliau syml yw y rhai hyny a redant yn naturiol, ac a ddeallir yn hawdd. Y mae coethiad mewn ysgrifen yn golygu llai o dro naturiol, yr hwn, os arferir yn ormodol sydd yn dynesu at ddyryswch, ac yn ymddangos fel peth wedi ei gyrchu o ffordd bell.

Y trydydd ystyr i symledd yw symledd mewn dull, yr hyn sydd wrthgyferbyniol i addurn gormodol ac i chwyddiaith. Yn yr ystyr yma y dywedir fod Locke yn fwy syml na Hervey.

Y mae ystyr arall i symledd mewn dull, ond nid ydyw yn golygu yn gymaint yr addurn a ddefnyddir, a'r dull naturiol ac esmwyth yn mha un y mae iaith yn amlygu ein meddyliau. Y mae modd cael symledd yn yr ystyr yma gyda'r addurn uchaf. Y mae Homer yn meddu y symledd yma i'r graddau perffeithiaf; ac eto nid oes un awdwr yn meddu mwy o addurn a phrydferthwch nag ef. Dyma y symledd sydd yn destun ein sylw yn bresenol.

Ni fedd awdwr sydd wedi cyraedd symledd unrhyw arwydd o gelfyddyd yn ei ymadroddion; y maent yn ymddangos fel iaith natur yn hollol. Nid ydym yn gweled yr ysgrifenydd na'i waith, ond y dyn yn ei nodwedd naturiol ei hun. Gall feddu cyfoeth o ymadrodd; gall fod yn llawn o ffugyrau ac o ddychymyg, ond y mae y rhai hyny yn rhedeg oddiwrtho ef heb anhawsder, ac ymddengys ei fod ef yn ysgrifenu fel hyn, nid am ei fod ef wedi astudio y dull yma, ond am mai dyma y ffordd mwyaf naturiol ganddo. Nid ydyw gradd o ddiofalwch yn annghyson gydag Ieithwedd o'r fath yma, nac yn ei hagru yn fawr, oblegid y mae talu gormod o sylw manwl i eiriau yn beth dyeithr iddi. Y mae symledd Ieithwedd yn meddu y fantais yma, ei bod fel symledd moesau yn dangos y dyn heb un wisg i'w guddio. Y mae dull mwy celfyddydol o ysgrifenu yn dangos yr awdwr mewn ffurf, fel swyddog yn y llys, lle y mae ysplenydd-der gwisg, a dull yr ymddygiad yn cuddio y neillduolion hyny sydd yn gwahaniaethu un dyn oddiwrth ddyn arall. Ond y mae darllen awdwr a ysgrifeno yn syml fel pe byddid yn ymddiddan â gwr mawr gartref, gydag esmwythder, ac yr ydym yn gweled ei foesau naturiol a'i wir nodwedd.

Gyda golwg ar symledd, yn gyffredinol, gallwn sylwi mai yr hynafiaid sy bob amser wedi rhagori ynddo, a hyny, y mae yn debyg, am eu bod yn ysgrifenu mwy dan gyfarwyddyd athrylith na thrwy gynorthwy celfyddyd.

Y mae y fath beth a mursendod mewn dull yr hwn sydd yn hollol wrthwynebus gan bob ysgolaig. Ni sieryd rhai ond gyda thrafferth fawr i lunio eu brawddegau. Y maent fel pe byddai dynion cyffredin yn gwisgo eu dillad goreu bob dydd yn mhob math o gymdeithas. Y mae modd i awdwr ysgrifenu yn syml, ac eto bod yn amddifad o brydferthwch. Gall fod yn rhydd oddiwrth fursendod hefyd, a bod heb ddim teilyngdod. Y mae symledd prydferth yn golygu un a fyddo yn meddu gwir athrylith, ac a allo ysgrifenu gyda nerth, purdeb, a gloewder dychymyg. Pan fyddo

awdwr yn ysgrifenu fel hyn, symledd ei ddull yw yr addurn sydd yn ei goroni; y mae yn rhoi dysgleirdeb i bob prydferthwch arall; gwisg natur ydyw, heb yr hon y mae pob prydferthwch yn anmherffaith.

### YR IEITHWEDD ANGHERDDOL.

Y mae math arall o Ieithwedd, sef, yr angherddol. Y mae hon bob amser yn golygu nerth; ac nid ydyw yn groes i symledd. Dynodir hon drwy angerddoldeb; iaith dyn a'i ddychymyg a'i nwydau ar dân ydyw. Bydd yn tywallt ei feddyliau allan gyda chyflymder a llawnder y rhyferthwy. Y mae y dull yma yn perthyn i'r gradd uchaf o areithyddiaeth; ac fe'i dysgwylir oddiwrth un fyddo yn siarad yn fwy nag oddiwrth un a fyddo yn ysgrifenu.

### Y MODD I GYRAEDD IEITHWEDD DDA.

Y peth cyntaf y dylid sylwi arno gyda golwg ar hyn yw meddu meddylddrychau eglur a goleu ar y pwnc y byddwn am ysgrifenu arno. Dylem eistedd i lawr i ysgrifenu y peth fyddwn wedi ei feddwl, ac nid i ystyried pa beth i'w ysgrifenu. Defnyddier y gair cyntaf a ddelo i'r meddwl, ac na cheisier cyfnewid meddylddrych. Na aroser byth i wneud dewisiad o eiriau, ond doder y meddwl i lawr fel y byddo, a chymerer amser wedi hyny i drefnu pethau. Y mae meddyliau yn dyfod weithiau yn gynt nag y gallwn eu defnyddio, ac y maent yn esgor y naill ar y llall.

### PURDEB IEITHWEDD.

Er cyraedd purdeb Ieithwedd rhaid gochel pob gwall Gramadegol. Rhaid gochel pob geiriau o ieithoedd ereill, ond lle y byddo gwir angen am danynt. Y mae y rhan fwyaf o waith rhai ysgrifenwyr yn cael ei fritho â geiriau Seisnig yn y dyddiau yma, a hyny heb un gradd o gywilydd ar wyneb y rhai a'u harferant. Y mae gair Seisnig yn rheidiol weithiau lle na byddo gair Cymreig wedi cael ei arfer am dano; a byddai yn ymddangos fel rhodres ini geisio bathu

geiriau yn lle geiriau fel *tea*, *coffee*, *potatoes*, *rice*, *raisins*, *currants*, y rhai sydd ar dafod boneddig a gwreng mor fynych; ond y mae arfer geiriau Seisnig nad oes neb ond llênyddwyr yn eu harfer, mewn traethodau a phregethau, yn wrthun ac yn anfaddeuadwy. Y mae yn fuddiol dodi gair Seisnig rhwng cromfachau i egluro y gair Cymreig, ond y mae ei osod heb un rheswm dros hyny yn nghanol Cymraeg bur, mewn traethawd a fwriedir i'r Cymry, yn sawyro yn gryf o fursendod, a dyweud y goreu am dano.

Er cyraedd purdeb Ieithwedd wrth lefaru ac ysgrifenu, rhaid gochel y geiriau basdarddawl sy mewn arferiad; megis, *altro*, *braf*, *leicio*, *ffond*, *ffeindio*, *cowntio*, *tendio*, *treio*, *dowto*, *syposo*, *seignio*, a phob geiriau cyffelyb.

Dylid hefyd gofalu am ddodi ei sain ei hun i bob llythyren ac i bob gair. Y mae rhai o'r Cymry, sydd yn arfer a llefaru yn gyhoeddus, yn mhell iawn yn ol yn y mater yma. Ni waeth ganddynt ar ddaiar pa fath seiniau a ddodant i eiriau, na pha fath eiriau a arferant hyd yn nod yn y pwlpud. Y mae gofal mawr yn cael ei arfer gyda'r iaith yn mhlith y Saeson, a dylai hyn gael mwy o sylw yn mysg y Cymry; canys y mae yr hwn a arfero iaith fratiog i osod allan feddylddrychau teilwng yn ymddangos fel pendefig mewn carpiau. Clywir gan yr anwybodus a'r diofal *a* yn cael ei seinio yn *e;* megis yn y geiriau *amcan*, *enaid*, *unwaith*, *yna*, gan eu galw yn "amc*e*n," "en*e*d," "unw*e*th," "*e*n*e*," ac mewn lluaws o rai cyffelyb. Rhaid i ambell un gael dyweud "cyfl*wy*sdra" am gyfleusdra; "gwiale*m*" am gwialen; "o*e*l" am ol; "bygw*y*th" am bygwth; "cymyl*e*" am cymylau; a "c*i*astell" am castell; "d*i*n" am dyn; "d*i*w" am Duw; "d*i*" am dy. Y mae rhai yn galw gormod am wasanaeth yr *a*, ac yn galw teisen yn "deis*a*n;" seren yn "ser*a*n;" bachgen yn "fachg*a*n;" geneth yn "en*a*th." Gwrthun iawn hefyd yw arferu "*does genon ni*," am nid oes genym; "*fel base*," am fel pe buasai; "*ond dydio*," am onid ydyw; "*yn does*," am onid oes; "*ydach chi*," am ai ydych chwi;

"*dasechi*," am pe buasech chwi; "*deud*," am dyweud; "*cymyd*," am cymeryd; "*doro*," am dyro; "*penbydd*," am pan fydd; "*dati*," am pe byddit ti; "*powlio*," am rolio, a lluaws mawr o eiriau ac ymadroddion hagr cyffelyb na ddylid eu goddef byth wrth ymdrin â phethau santaidd y cysegr. Pa fodd na ddarllenai y rhai sydd yn euog o hyn eu Biblau, os na chawsant fantais athrofäol, yn lle gosod eu hunain yn destun gwawd i blant yr Ysgolion Sabbathol drwy eu hanfedrusrwydd a'u musgrellni?

Dywed Doctor Johnson mai iaith yw gwisg meddylddrychau, ac megis y cai yr agwedd brydfertha ei diraddio a'i chuddio pe gwisgid dillad gweithiwr cyffredin am dani, felly y collai y syniadau mwyaf ardderchog eu heffaith wrth eu gosod allan mewn geiriau isel a arferir gan bob math o safnau difoes (*vulgar*), ac ar bob achlysur. Y mae gwirionedd pob amser yn wirionedd, a rheswm bob amser yn rheswm; ond gallai aur fod wedi ei guddio mewn defnydd gwaelach fel nad allai neb ond y fferyllydd gael gafael arno; gallai synwyr gael ei orchuddio â geiriau gwael a geirwon fel nad allai neb ond athronwyr ei ganfod; a chael ei gladdu mewn cymaint o anmhuredd fel na thalai y draul o geisio ei gael allan.

## PRIODOLDEB IEITHWEDD.

Er cyraedd priodoldeb Ieithwedd, dylid gochel pob dull isel a garw, yr hyn sydd yn arwydd amlwg o anwybodaeth mawr, ac o'r gymdeithas isel fydd y dyn a'i harfero wedi ei chadw; megis, "*Shop* trugaredd." "Gwneud hunan-gyfiawnderau yn *racs*." "Chwalu dy *bac*," &c.

Peth anmhriodol hefyd yw arfer geiriau perthynol i'r celfyddydau a'r gwyddoniaethau (*arts and sciences*) mewn cynulleidfa gymysg, lle na byddo un o bob haner cant o'r gwrandawwyr yn deall am ba peth y byddir yn son; megis, "*analysio*," "*compoundio*," "*dissectio*" "*leakio*," "*refinio*," "*client*," "*patient*," "*stale*," a

lluaws o eiriau cyffelyb. Ni wrthwynebir i arferiad doeth gael ei wneud o eiriau estronol pan fyddo angen am hyny, a phan fyddo yr arferwr yn alluog i roddi eglurhad arnynt; ond dylai yr hwn a arfero eiriau o iaith estronol fod yn deall eu hystyr yn gywir rhag iddo fyned fel yr hurtyn a soniai am "*ddissectio*" y dwfr! Neu y dyn a geisiai ddangos y perygl o "*springio leg*!" [*leak*].

Digrif iawn fydd clywed yr annysgedig yn ceisio chware yr ysgolaig uwch ben cynulleidfa anwybodus; ond bradychir ei anfedrusrwydd yn fuan, yn enwedig, os â i geisio adrodd geiriau Seisnig. Bydd ganddo "*bulgar*" yn lle *vulgar*; "*mops*" yn lle *mob*; "sim*b*le" yn lle *simple*, a rhes o eiriau o'r fath a amlygant i bob un o ddeall na fydd y llefarwr yn ysgolaig. Gwell i ddynion annysgedig o'r fath yma gadw tu fewn i gylch eu hamgyffredion eu hunain, ac adrodd geiriau Cymreig glân uwch ben eu cydwladwyr, na gwneuthur asynod o honynt eu hunain wrth geisio myned yn fawr yn ngolwg y werinos. Clywsom am un o'r dosbarth a grybwyllwyd yn galw dyn yn "*bisin master*" y greadigaeth yn lle *masterpiece!*

Er cyraedd dullwedd neu Ieithwedd dda, dylid arfer llawer ag ysgrifenu. Y mae amryw yn meddwl myned yn awdwyr rhagorol y tro cyntaf; a difyr fydd clywed dyn ieuanc yn cwyno ei fod wedi cael cam y tro cyntaf erioed y cyll y dydd wrth gydymgais ar destun llênyddol. Y mae eisiau i awdwr yn y dechreu fod yn araf ac yn bwyllog wrth gyfansoddi; os bydd ganddo athrylith daw i ysgrifenu llawer a hyny mewn amser byr. Rhaid hefyd gofalu am beidio lluddias rhediad y meddwl, nac oeri gwres y dychymyg, drwy aros yn rhy hir uwch ben pob gair a ddefnyddiwn. Peth da fel y dywedir yw "gyru yr haiarn tra byddo yn boeth," a bwrw heibio yr hyn a wneler, a'i adael heibio, hyd nes y byddo y meddwl wedi gollwng ei afael o hono yn llwyr cyn myned uwch ei ben a'i ddiwygio. Wrth wneud hyn daw yr anmherffeithrwydd a'r gwendid i'r golwg yn fwy effeithiol. Rhydd cydnabyddiaeth â

gwaith yr awdwyr goreu lawer o gynorthwy i gyraedd Ieithwedd dda. Drwy hyn ffurfia yr Efrydydd chwaeth gywir, a lleinw ei feddwl â geiriau priodol ar bob mater. Nid oes well ffordd i hyn nâ chymeryd rhyw draethawd a'i gyfieithu, ac yna cydmaru y cyfieithiad â'r traethawd gwreiddiol. Os na fydd yr awdwr ieuanc yn ystyried ei hun yn ddigon galluog i roi barn ar ei waith dangosed ef i rywun deallus yn y gymydogaeth. Gwna arferiad fel hyn gynorthwyo yn ddirfawr i ddangos i ddyn ei ddiffygion, a'r ffordd oreu iddo fyned rhagddo.

Dylid ar yr un pryd beidio a cheisio dynwared unrhyw awdwr; oblegid, fe wna hyny dueddu i grebachu athrylith a pheri anystwythder mewn ymadroddion. Byddai perygl i'r hwn a ddilynai awdwr yn fanwl ei ddynwared yn y pethau mwyaf gwrthun a berthynai iddo yn gystal a'r pethau mwyaf prydferth. Ni ddaw neb byth yn ysgrifenwr galluog os na fydd ganddo radd o ymddiried yn ei athrylith ei hun. Dylem beidio arfer geiriau penodol unrhyw awdwr. Gwell i ni feddu yr eiddom ein hunain er iddo fod yn waelach na cheisio ymddangos yn wych mewn addurniadau benthyg, yr hyn fydd yn sicr o ddangos yn y diwedd waeledd ein hathrylith. Y peth diweddaf a grybwyllwn ar y mater yma yw y dylai yr Ieithwedd fod yn ddealladwy ac yn agos i'r darllenwyr neu y gwrandawyr. Nid oes dim haws na siarad neu ysgrifenu yn dywyll, ac amdoi ein hunain mewn cymylau nes y byddo llygaid gwerinos yn rhythu wrth geisio ein canfod. Y gamp fwyaf yw ymadroddi mor eglur nes y tybio y mwyaf hurt y gallai yntau ymadroddi yr un fath. Niwl a thywyllwch yw yr unig bethau hynod y mae gan rai awdwyr a llefarwyr hawl i ymffrostio ynddynt. Pe tynid y teithi hyn oddiwrthynt ymddangosent yn ddelwau dirym ac oerion, a'u hymadroddion yn gruglwyth o sothach. Os bydd dyn yn deall ei fater ei hun bydd yn sicr o wneud i ereill ei ddeall; ond os â i ymdrin â phwnc fyddo uwchlaw ei wybodaeth, bydd y darllenwyr neu y gwrandawyr yn llawn mor sicr o'i golli yn y niwl y bydd efe yn hofran ynddo, er mawr

ofid i bob dyn o chwaeth a fyddo mor anffodus a gorfod myned yn agos ato.

Y mae ymgais am Ieithwedd farddonol neu flodeuog pan y mae yn ddyledswydd arnom ymresymu yn un o'r pethau mwyaf gwrthun; ac y mae llefaru gyda chwydd-eiriau hirion o flaen dynion nad allant eu deall yn llawn mor afresymol a diles. Y mae lle i gredu mai cast ydyw hyn a ddyfeisiwyd gan ddynion diathrylith i guddio trueni a diffaethwch eu syniadau. Y mae yn llawer haws gwisgo syniadau gwael ac isel gyda rhyw fath o addurn ymadroddol, na rhoddi allan ystôr o syniadau cryfion, cywrain, a defnyddiol mewn iaith eglur. Y mae yn gofyn athrylith at y peth diweddaf, ond gellir cyraedd gryn ragoroldeb yn y cyntaf, drwy ddiwydrwydd, lle na byddo ond gwybodaeth arwynebol ac amddifadrwydd hollol o athrylith. Dyma yr achos fod genym y fath nifer o awdwyr a llefarwyr mor dlawd mewn meddyliau. Y mae arferiad yn ein rhwymo i ofalu rhywbeth am y wisg y dodir y meddylddrychau allan, os byddwn yn dysgwyl i rywun ddarllen ein gwaith; ond awdwr neu lefarwr gwael a dirmygus i'r eithaf yw hwnw sydd yn talu mwy o sylw i addurn iaith nag i feddwl; ac sydd heb ystyried mai ail beth o natur îs yw addurn. Y mae y dynion yma yn debyg i'r pregethwyr na feddant ddim ond llais ac ystum i'w dwyn i sylw. Y mae llawer o honynt â'u geiriau, tra y byddont yn ymddiddan yn bwyllog â'r bobl, mor ddieffaith a phe byddent yn lluchio talpiau o iâ i ganol eu gwrandawyr; ond y foment y dechreuont ganu a gwaeddi, ceir gweled y gwrandawyr fel twmpath morgrug yn fyw drwyddynt oll; yr hyn a brawf mai nid y peth a ddywedir, ond y dull o ddyweud y peth hwnw, fydd yn effeithio; ac os ydyw y dull yn effeithio mwy na'r hyn a adroddir, y mae lle i ofni mai go ychydig o les gwirioneddol a wneir wedi yr holl floeddio a'r arthio i gyd. Digrif fydd clywed un o'r nodwedd yma yn brolio y fath hwyl fydd ar ei ysbryd ef ei hun, a'r bobl o'i gwmpas mor ddihwyl a delwau meirwon. Pa iaith bynag a arfero dyn dylai ei llefaru a'i hysgrifenu gyda'r

purdeb mwyaf, ac yn ol rheolau Gramadegol. Nid ydyw yn ddigon ini beidio llefaru nac ysgrifenu iaith yn ddrwg, ond dylem wneud hyny yn dda. Y mae llawer Cymro yn honi cryn wybodaeth yn yr ieithoedd dysgedig yn fwy musgrell yn iaith ei fam nâ'r Cymro unieithog. Digon prin y gallwn roi hyder mawr yn ngwybodaeth dyn mewn ieithoedd pell pan fyddo yr iaith nesaf ato yn cael can lleied o'i sylw. Os bydd dyn yn afler gydag un iaith nid oes fawr o sail i gredu ei fod nemawr daclusach gyda'r llall: canys y mae aflerwch neu daclusrwydd yn debyg o ganlyn dyn i bob man lle yr elo, a pha iaith bynag a siarado. Y mae mwy o *goeg* ddysgeidiaeth yn y byd nag y mae neb wedi ddychymygu. Yr ydym ni yn mhell o dybied mai cael enw o fod mewn athrofa neu brif ysgol am chwe' blynedd yw bod yn ysgolaig; a phan glywom Gymro a gymer arno ddeall yr ieithoedd gwreiddiol yn disgyn i iaith fratiog a llygredig y bobl mwyaf cyffredin ac anwybodus yn Gymraeg wrth ymddiddan, llefaru yn gyhoeddus, neu ysgrifenu, byddwn yn cael ein tueddu i ameu ei ragoroldeb yn y pethau yr ymffrostia ynddynt; o'r hyn lleiaf teflir hug dywyll iawn dros y pethau y mae efe yn dysgwyl clod, am fod yn eu gwybod ac yn eu meddu.

Y mae dysgedigion Seisnig yn talu sylw manwl i'w hiaith eu hunain wrth lefaru ac ysgrifenu, ac ychydig a feddylid yn eu plith hwy o alluoedd dyn a ymffrostiai yn ei wybodaeth mewn ieithoedd estronol, a'i iaith ef ei hun heb ei hastudio ganddo yn fanwl. Nid edrychid ar y cyfryw ond fel coeg-ysgoleigyn (*pedant*) annheilwng.

### IAITH FFUGYROL.

Wrth ffugyrau y mae i ni ddeall yr iaith a gynygir gan y dychymyg neu y nwydau. Fe ddosberthir ffugyrau yn gyffredin gan Reithegwyr i ddau ddosbarth; sef, ffugyrau geiriau, a ffugyrau meddwl. Gelwir y rhai cyntaf yn drofäegau, a chynwysant ddefnyddiad gair i arwyddo peth gwahanol i'w ystyr wreiddiol. Er

engraff, iaith gyffredin yw, "Y mae dyn da yn mwynhau cysur mewn tylodi;" trofäeg yw, "Cyfyd goleuni i'r cyfiawn mewn tywyllwch." Y mae y drofäeg yn gynwysedig yn y geiriau, "Goleuni a thywyllwch," y rhai wrth beidio eu cymeryd yn llythyrenol a arwyddant gysur ac adfyd.

Ffugyr meddyliol a gynwys y ffugyr yn y meddwl yn unig, tra y byddo y geiriau yn cael eu harfer yn eu hystyr briodol eu hunain. Yn eu cynwysiad a'u trefniad y mae y gwahaniaeth yn unig; megis, "Deffro gleddyf yn erbyn fy mugail."

Cafodd trofäegau eu harfer ar y dechreu i raddau o herwydd diffrwythder iaith, ond yn fwyaf neillduol, efallai, o achos y dylanwad a fedd y dychymyg dros bob math o ymadrodd. Nid ydyw y dychymyg byth yn edrych ar unrhyw un meddylddrych, ar ei ben ei hun ac yn unig, ond bob amser mewn cysylltiad, neu gyda rhyw feddylddrychau ereill. Er engraff, pe byddem yn dewis mynegu pa bryd y bu teyrnas yn fwyaf clodfawr neu yn fwyaf ei gogoniant, byddai yn hawdd i ni fynegu hyny mewn geiriau cyffredin; ond gan fod hyn yn cael ei gysylltu yn ein dychymyg yn union â'r amser y byddo planigyn neu goeden yn blodeuo, gwell genym arfer y meddylddrych yma, a dyweud, "O dan Augustus y blodeuodd yr ymerodraeth Rufeinig fwyaf." Y mae "arweinydd plaid" yn ymadrodd eglur; ond, gan mai y pen yw y prif ran o'r corff dynol, a'r hwn a olygir fel yn cyfarwyddo yr holl weithrediadau anifeilaid, ddywedwn oddiwrth y tebygrwydd yma, yn ffugyrol, "Y Pab yw pen ei blaid."

Y mae trofäegau neu ffugyrau yn cynorthwyo i harddu Ieithwedd, ac yn cyfoethogi iaith gan ei gwneuthur yn fwy helaeth. Drwy hyn y mae geiriau ac ymadroddion yn cael eu lluosogi i amlygu pob math o feddylddrychau, ac i ddangos y gwahaniaeth a'r rhagoroldeb lleiaf sy rhwng y naill beth a'r llall, yr hyn nad ellid byth ei gyraedd drwy eiriau priodol yn unig. Y maent hefyd yn rhoddi urddas i Ieithwedd, yr hon a waradwyddir gan ymadroddion cyffredin. Y mae help ffugyrau yn

angenrheidiol mewn rhyddiaith yn fynych; eithr nid oes fodd byth gwneud heb ffugyrau mewn barddoniaeth. Nid ydyw dyweud fod "yr haul yn codi" ond ymadrodd cyffredin iawn; ond daw yn ddelw *(image)* hardd os dywedir:—

> "Ond fry mae'n dod, deyrn nerthol dydd,
> Dan lawenhau, o'r dwyrain pell."

Y mae ffugyrau yn helpu y meddwl i fwynhau dau wrthddrych fyddo yn cael eu dangos ar yr un pryd, a hyny heb gymysgu y naill â'r llall. Pan, er engraff, yn lle dyweud "ieuenctyd," dywedwn "boreu oes," y mae y dychymyg yn union yn cael gweinyddu iddo gan yr holl amgylchiadau sydd yn bod rhwng y ddau wrthddrych yma. Yr ydym yn gweled ar yr un golwg dymor neillduol bywyd, ac amser neillduol ar y diwrnod, wedi eu cysylltu y naill â'r llall, nes y mae y dychymyg yn chware rhyngddynt gyda hyfrydwch, ac yn edrych ar ddau wrthddrych gwahanol ar unwaith heb ddyryswch. Heblaw hyny, y mae ffugyr yn fanteisiol i roi golwg eglurach a mwy tarawiadol ar y prif wrthddrych nag a gawsid hebddo.

Os sylfaenir ffugyrau ar y berthynas sy rhwng y naill wrthddrych â'r llall, gellir defnyddio enw y naill am y llall; megis, y dywedir "penllwydni," neu "benwyni," am "hen oedran," sydd yn achosi penwyni. Y mae enw gwlad yn cael ei ddefnyddio i arwyddo ei thrigolion. Gweddio am gymorth y Nef sydd yr un peth a gweddio am gymorth Duw, yr hwn sydd yn y nef. Gelwir ffugyrau fel hyn yn drawsenwad (*metonymy*).

Os dodir y cyfan am ran, neu ran am y cyfan; y rhif unigol am y rhif luosog, neu y rhif luosog am y rhif unigol; yn gyffredin, os bydd unrhyw beth llai, neu unrhyw beth mwy yn cael ei roi am y gwrthddrych a feddylir mewn gwirionedd gelwir y ffugyr yn Gyforddwyn (*synecdoche*).

Y ffugyrau o eiriau a meddyliau a arferir yn fwyaf cyffredin ydynt. Trawsymddwyn, Cyffelybiaeth, Aralleg, Dynsodiant, Gwatwariaith, Gwrthdro, Gormodiaith, Trawsddodiad, a Dringeb.

### TRAWSYMDDWYN (*Metaphor*).

Trawsymddwyn sy ffugyr wedi ei seilio ar y tebygrwydd sy rhwng y naill wrthddrych a'r llall, sef, pan fyddo enw a phriodoledd un yn cael ei gyfrif i'r llall; megis, "Llusern yw dy air i'm traed."

Y mae yr engraff flaenorol wedi cael ei defnyddio gan Henri Perri, yn ei Reitheg, a gyhoeddwyd tua'r flwyddyn 1580; megis,

"Dy air di (medd Dafydd Broffwyd) sy lugern i'm traed, a llewyrch i'm camrau."

"Mewn iaith briodol nid ydyw gair Duw na llugern na llewyrch, ond megis y mae y llugern yn dwyn goleuni, a'r llewyrch yn goleuaw y ffordd, felly y mae gair Duw yn goleuaw ein ffordd ninau drwy y byd."

Dylid craffu ar y rheolau canlynol wrth ddefnyddio y ffugyr yma:—

I. Dylai Trawsymddwyn gael ei gymwyso at natur y gwrthddrych y byddwn yn son am dano, heb fod yn rhy luosog, yn rhy wych, nac yn rhy uchel.

II. Ni ddylai Trawsymddwyn gael ei dynu oddiwrth wrthddrychau sydd yn isel ac yn anhyfryd.

III. Dylai Trawsymddwyn gael ei seilio ar debygrwydd, heb ei gyrchu o bell, ac ni ddylai fod yn anhawdd ei ddarganfod.

IV. Dylai Trawsymddwyn gael ei osod allan mewn iaith eglur a phriodol.

V. Ni ddylai y naill Drawsymddwyn gael ei gymysgu gyda y llall yn yr un frawddeg, ac ni ddylid arfer gormod o honynt gyda'r un gwrthddrych.

VI. Ni ddylai iaith eglur ac iaith drawsymddwynol fod wedi eu cydblethu, fel y byddo rhan o frawddeg yn ffugyrol a rhan yn llythyrenol.

VII. Ni ddylid dilyn ar ol Trawsymddwyn yn ormodol.

### CYFFELYBIAETH (*Comparison*).

Cyffelybiaeth sy ffugyr a seilir ar debygrwydd sy rhwng dau wrthddrych, drwy fod un yn cael ei gyffelybu i'r llall; megis, "Y mae cydwybod euog fel y môr, *pan fyddo* yn cael ei gynyrfu gan y storm."

Gall y rheolau canlynol gyfarwyddo y myfyrgar:—

I. Ni ddylid tynu cyffelybiaeth rhwng dau wrthddrych, y byddo y tebygrwydd rhwng y naill a'r llall yn rhy agos ac amlwg, nac yn rhy bell a gwanllyd.

II. Ni ddylid tynu cyffelybiaeth oddiwrth bethau anhyfryd a halogedig.

III. Dylai y gyffelybiaeth gael ei chymeryd oddiwrth wrthddrychau mwy adnabyddus nâ'r rhai a fwriedir eu hegluro.

IV. Dylai cyffelybiaethau, pan arferir hwy yn addurn, gael eu tynu oddiwrth wrthddrychau pwysig ac urddasol. Y mae rhai wrth geisio bod yn darawiadol yn bragaldiaw y cyffelybiaethau mwyaf *coegddychymygol* ac anweddaidd, gan eu golygu yn ehediadau ysplenydd athrylith. Dywedai un wrth bregethu mai "*Pet* y Duwdod yw trugaredd." Pet y gelwir creadur a fwythfegir; megis, oen llawfaeth, neu gi bychan, neu gath ddewisol! Y mae yn erchyll arfer cyffelybiaeth fel hyn i son am Dduw.

Clywir peth mor afresymol a "Ffordd wedi ei phalmantu â gwaed!" "Llong y cyfamod newydd yn disgyn o Salem fry yn Eden ardd." "Crist yn haul yn y groth—ar liniau Mair—yn y preseb—ar gefn yr asyn—dan y fflangellau—wedi ei hoelio ar y pren—ac yn haul mewn amdo yn y bedd!"

Dywedai un wrth son am ffyddlondeb Iesu Grist, "Nid ydyw Iesu Grist fel *Robin Goch*, ni welwch chwi mo wyneb *Robin* ond pan fyddo yn dywydd garw!!"

Gwelai un arall "Wr o lwyth Ephraim wedi ei frathu gan un o'r seirff tanllyd, a gwelai y llew o lwyth Juda yn myned i'w feddyginiaethu!" Ni feddyliodd yr adroddwr mai yn nghymeriad meddyg y mae y Cyfryngwr yn meddyginiaethu ac nid fel llew.

Clywir weithiau son fod "*Bowling green* yn y nefoedd." "Gweithio ar lygredd dyn gyda pheirianau y gwaed." "Fod y rhwyd wedi dyfod i'r maes." "Yr haul yn anfon ei *footman* yn ei lifrai cochion." "Paul yn rhedeg yr yrfa mewn basged." "Yr haul yn tynu ei *handkerchief* dros wyneb natur i sychu y gwlith."

"Yr haul yn fotwm ar sipog Duw"!! "*Cwpwrdd* trugaredd y Jehofa." "*Artificials* y nefoedd." "Josuah yn gwaeddi *We* ar yr haul." "Sŵn morthwylion yn y goedwig." "Y tonau fel *linciau.*"

Gweddiai un am i'r Arglwydd "gymeryd ei was fel *spwnge* yn ei law." Un arall a ddymunai "am i'r saint gael eu gwneud fel halen y ddaear yn ddychyrn i annuwioldeb." "Am i'r talcenau oedd wedi cynefino yn sŵn yr efengyl gael eu cofio."

Ni wyddir yn iawn pa fodd i amlygu digon o annghymeradwyaeth i'r fath ysgarthion. Y mae rhai o honynt o ran iselder ac anfoesgarwch tu hwnt i ddim, y mae yn debyg, a glywsom erioed.

Yr oedd gwrandaw ar eu hadrodd yn fwy na digon unwaith am byth; ond beth sydd yn dyfod o eneidiau y trueiniaid sydd yn eistedd o'r naill ben i'r flwyddyn i'r llall o dan weinidogaethau sydd yn rhoddi i'w praidd y fath borfaöedd *gwelltog?*

Dylasai y rhai a arferodd y fath ymadroddion gwaradwyddus gael eu hwtio o'r pulpudau gyda dirmyg, neu iddynt edifarhau a myned i'r ysgol i ddysgu diwygio.

Mae y cam-gymeriadau canlynol yn ddiniweidrwydd ei hunan mewn cydmariaeth i'r rhai a nodwyd; er eu bod yn dangos y neb a'u harfero yn dra anwybodus; sef, "Y Cenedloedd yn gwrthod Crist yn nyddiau ei gnawd." "Yr Alps yn yr Amerig." "Llewod Siberia." "Tynu perlau o'r graig," yn lle o gregin!

Dylai dynion cyffredin, o feddyliau cyffredin, arfer cyffelybiaethau ac ymadroddion cyffredin cymwys i rai yn eu sefyllfa. Nid ydyw o un dyben i'r dryw bach geisio ehedeg fel yr eryr; nag i'r ddallhuan geisio canu fel y fwyalch. Dylai pob dyn ac yn enwedig dysgawdwyr, adnabod eu cylch, ac nid ceisio myned yn fwy nag ydynt mewn gwirionedd drwy adrodd ffolineb.

### ARALLEG. (*Allegory*).

Aralleg sy ffugyr wedi ei seilio ar debygrwydd, sef, un *peth yn cael* ei osod allan drwy beth arall tebyg iddo.

Dywed Henri Perri,

"Gwybyddwch, oni bydd dwy o'r troellau ymadrawdd, o'r hyn lleiaf, yn yr un synwyr, ni ddylid mo ei galw hi yn aralleg o'r ddull hon. O bydd mwy na dwy ni ym dawr o'r chwaneg.

"Engraff o'r ysgrythyr lân fal hyn:

"Yr hwn sydd a'i wyntol yn ei law, ac a garth ei lawr, ac a gasgl ei wenith i'w ysgubawr; ond y gwanus a lysg efe â thân anniffoddadwy, Math. iii, 12.

"Yn yr araeth hon y mae chwech unrhith drofeg; sef, trawsymddwyn. Yn gyntaf y wyntol, yn lle barn Duw; yn ail carthu, dros ddidoli y drwg oddiwrth y da; yn drydydd y llawr, yn lle yr eglwys weledig; yn bedwerydd y gwenith, dros y detholedig; yn bumed, ysgubawr, yn lle y nef; yn chweched y gwanus, yn lle y gwrthodedig."

Gwelir Aralleg brydferth yn y Salm lxxx. yn dechreu fel hyn:

"Mudaist winwydden o'r Aifft; bwriaist y cenedloedd allan, a phlenaist hi. Arloesaist o'i blaen, a pheraist i'w gwraidd wreiddio, a hi a lanwodd y tir," &c.

Y brif reol i sylwi arni mewn aralleg yw na byddo i ystyr ffugyrol ac ystyr lythyrenol gael eu cymysgu yn annghyson â'u gilydd.

DYNSODIANT (*Personification*).

Dynsodiant yw y ffugyr drwy yr hwn y mae bywyd a gweithrediad yn cael ei briodoli i wrthddrychau difywyd; megis,

"Beth ddarfu i ti, O fôr, pan giliaist? tithau Iorddonen, paham y troaist yn ol."

Y mae tair gradd yn perthyn i Ddynsodiant, sef,

I. Pan fyddo rhai o'r priodoleddau neu deithi creaduriaid byw yn cael eu cyfrif i wrthddrychau difywyd; megis,

"Y ddaiar sychedig." "Y môr digllawn."

II. Pan fyddo gwrthddrychau difywyd yn cael eu gosod allan yn gweithredu fel creaduriaid byw; megis,

"Y mynyddoedd a neidiasant fel hyrddod, a'r bryniau fel wyn defaid."

III. Pan fyddo gwrthddrychau difywyd yn cael eu gosod allan fel yn siarad â ni, neu fel pe byddent yn gwrandaw pan fyddom ni yn eu hanerch; megis,

"Colledigaeth a marwolaeth sydd yn dywedyd, Ni a glywsom â'n clustiau son am dani hi." "Baich Tyrus." "Llongau Tarsis, udwch, canys anrheithiwyd hi fel nad oes na thŷ na chyntedd."

Y brif reol wrth arferu y ffugyr hwn yw gofalu am beidio gwisgo y gwrthddrychau a ddynsodwn gydag amgylchiadau ffoldybus a gwael.

### GWATWARIAITH (*Irony*).

Dywed Henri Perri am Watwariaith fel y canlyn :—

"Gwatwargerdd, neu wawdeb, sydd rith ar drofeg ymadrawdd pan osodir mewn araith eiriau neu synwyr, yn arwyddocau gwrthwyneb i'r ymadrawdd; neu pan fo y naill wrthwyneb yn arwyddaw y gwrthwyneb arall.

"Yr ydys yn ymarfer â hon yn fynych; weithiau wrth gellwair, ac weithiau ereill wrth ddywedyd y caswir. Fo adnebyddir y droell hon wrth anghyttuedd anian y peth; neu wrth y llefaredigaeth; neu yn hytrach wrth ymddygiad y dynsawd.

"Engraff o'r ysgrythyr lân fel hyn :—

'Wele y dyn yn debyg i un o honom ni,' Gen. iii. 22.

"Yn y geiriau yma y mae Duw, drwy wawdeb dduwiawl, yn adliwïaw i ddyn ei resyndawd, a'r trueni a ddug pechawd iddo. Cyn i Adda syrthiaw yr ydoedd ar ddelw Duw; sef, cyfiawnder a santeiddrwydd; onid wedi iddo droseddu y gorchymyn, e gollasai, gan mwyaf, y ddelw nefawl, yr hon y creawyd ef ynddi.

'Ewch a gelwch ar y duwiau a ddewisasoch; gwaredent hwy chwi yn amser cyfyngdra.'

"Wrth y geiriau hyn y mae Duw yn ceryddu delwaddoliaeth yr Iuddewon yn wawdus, er mwyn iddynt hwy ddeall mor ffiaidd oedd gantho eu camwedd, a pheidiaw rhagllaw: ac o'r achaws hyny y syganai ef ar watwar-gerdd wrthynt."

### GWRTHDRÖAD (*Apostrophe*).

Gwrthdröad yw y ffugyr hwnw drwy ba un y byddwn yn troi oddiwrth y testun, ac yn anerch yr absenol neu'r marw, fel pe byddent yn bresenol, ac yn gwran-. i fynu i ystafell y porth, ac a wylodd; ac fel hyn y daw arnom; megis,

"A'r brenin a gyffrodd, ac aeth i fynu i ystafell y porth, ac a wylodd; ac fel hyn y dywedodd efe wrth fyned; O fy mab Absalom! fy mab! fy mab Absalom! O na buaswn farw drosot ti, Absalom fy mab, fy mab!"

Y brif reol i sylwi arni yn arferiad Gwrthdröad yw iddo beidio cael ei lwytho yn ormodol gydag addurn dyfeisiedig, na'i gario yn rhy bell.

GORMODIAITH (*Hyperbole*).

Gormodiaith yw y ffugyr drwy ba un y mawrheir neu y lleiheir gwrthddrych tu draw i'w derfynau naturiol; megis,

"Gwnaf hefyd dy had di fel llwch y ddaiar; megis, os dichon gwr rifo llwch y ddaiar, yna rhifir dy had dithau."

"Y mae efe yn rhedeg yn gyflymach na'r fellten."

Dylid sylwi ar y rheolau canlynol wrth arfer Gormodiaith :—

I. Ni ddylid byth arfer Gormodiaith i geisio dangos gwrthddrychau cyffredin a chynefin.

II. Nid ellir dwyn Gormodiaith yn mlaen nes y byddo meddwl y darllenydd wedi ei barotoi yn briodol.

III. Dylid cynwys Gormodiaith mewn can lleied o le ag y byddo modd.

TRAWSDDODIAD (*Antithesis*).

Trawsddodiad, neu Wrthgyferbyniad, sy ffugyr o drefniad fel y gosoder allan ddau wrthddrych gyferbyn a'u gilydd; megis,

"Os rheolwch eich dymuniadau yn ol safon natur, ni fyddwch byth yn dlawd; ond os yn ol safon dychymyg, ni fyddwch byth yn gyfoethog."

Dylid arfer y ffugyr yma yn gynil, a hyny pan fyddo y pethau yn eglur ac yn naturiol.

DRINGEB, (*Climax*).

Dringeb sy ffugyr drwy yr hwn y gwneir i bob gwrthddrych dilynol godi uwchlaw yr hwn a'i blaenora; megis,

"Y fath ddarn o waith yw dyn! Mor ardderchog mewn rheswm! Mor ëang mewn amgyffredion! Mor ryfeddol o ran ei ffurf! Mewn gweithrediad mor debyg i angel! Mewn dealldwriaeth mor debyg i Dduw!

Y mae y ffugyr hwn yn cael cam dirfawr yn fynych mewn dwy ffordd, sef, trwy gymysgu pethau bach a phethau mawr gyda eu gilydd a diweddu yn wan; a thrwy ddechreu yn y pen chwith, sef, o'r mwyaf i'r lleiaf, ac nid o'r lleiaf i'r mwyaf.

Wele yn canlyn engraff o ddringeb. Rhan o anerchiad i Reithwyr ydyw mewn prawf a fu ar ddynes a gyhuddid o ladd ei phlentyn.

"Foneddigion, pe buasai y naill ddyn rywfodd wedi lladd y llall; pe buasai gelyn wedi lladd ei wrthwynebwr; neu ddynes wedi achosi marwolaeth ei gelyn; buasai hyd yn nod y troseddwyr hyny yn cael eu cosbi gan y gyfraith; ond pe buasai y baban hwn, yr hwn nad allai wneud gelyn wedi cael ei lofruddio gan ei fammaeth pa gosbedigaethau ni fuasai y fam yn eu mynu! Gyda pha griau a dolefau y buasai hi yn syfrdanu ein clustiau! Pa beth a ddywedwn ynte, pan mae dynes euog o lofruddiaeth, mam o lofruddiaeth ei phlentyn diniwaid ei hun, wedi dwyn yr holl gam-weithredoedd hyny i un trosedd; trosedd sydd ynddo ei hun yn ysgeler; mewn dynes yn aruthrol, ac mewn mam yn annghredadwy; ac wedi ei gyflawni yn erbyn un yr oedd ei oed yn gofyn cydymdeimlad, ei berthynas agos yn gofyn serch, a'i ddiniweidrwydd yn gofyn y ffafr uchelaf."

Er fod llawer o brydferthwch a nerth yn perthyn i'r ddringeb flaenorol, eto, y mae arni gryn ôl celfyddyd ac astudiaeth. Prin y gellir dyweud mai iaith y nwydau ydyw, canys y mae ei rhanau yn rhy rheolaidd i hyny.

---

## TONYDDIAETH.

Daw dan y pen Tonyddiaeth Acen, Pwyslais, Gosteg, a Goslef.

### ACEN.

Wrth Acen y mae i ni ddeall gosodiad y sain yn drymach ac yn rymusach ar lythyren neu sill mewn gair. Y mae Acen yn perthyn i ryw sill neu sillau yn neillduol yn mhob gair Cymreig. Y rheol gyffredin yw dodi yr Acen ar y sill olaf ond un yn y Gymraeg; megis, yn y geiriau mynydd, mynyddoedd; y mae yr Acen i fod ar *yn* ac *ydd* yn y ddau air hyn; yr unig eithriad yn y Gymraeg sydd yn y geiriau yr arferir *h* yn nechreuad y sill olaf o honynt; megis, yn medda*l*h*au*, neu lle byddo *t* yn dechreu y sill olaf; megis, cania*t*au.

### PWYSLAIS.

Megis y gosodir y sain yn fwy grymus ar lythyren drwy yr Acen, felly y gosodir y sain yn drymach ar

ryw air penodol mewn ymadrodd gyda'r pwyslais. Nid oes fodd dangos bywyd traethawd ond drwy y pwyslais. Traethir yn helaethach ar hyn yn mhellach yn y llyfr.

### GOSTEG.

Wrth Osteg y mae ini ddeall gorphwysiadau y llais neu eu ataliad dros ychydig. Y mae gosteg neu ataliad y llais yn angenrheidiol i'r llefarwr fel y gallo gymeryd ei anadl a llywodraethu ei lais; ac i'r gwrandawr fel na byddo iddo gael ei syfrdanu gan ormod o sŵn; ac fel y gallo wahaniaethu y brawddegau y naill oddiwrth y llall.

Bydd ymadroddion areithydd annghelfydd yn disgyn fel pistyll rhaiadr. Nid oes ganddo na thoriad na gorphwysiad yn un man nes yr elo "y llinyn i'r glust," fel y dywedir. Y mae yn boenus iddo ei hun ac i bawb a fyddo yn agos ato.

Perthyn i Osteg orphwysiad pwysddodol, sef, pan elwir sylw neillduol y gwrandawyr at ryw beth o bwys a fyddo i gael ei adrodd, neu a fyddo newydd gael ei adrodd.

Dylid gofalu am fod y peth y gelwir sylw y gwrandawyr ato o ryw bwys, fel na chaffont eu siomi, ac onid ê bydd yn anhawdd codi sylw drachefn.

Y gorphwysiadau a arferir fynychaf yw y rhai a arferir er gwahanu amryw gymalau yr ymadroddion, a rhoi hamdden i'r hwn fyddo yn llefaru i gymeryd ei anadl. Y mae hyn yn beth a ddylai gael sylw mawr pob llefarydd, rhag iddo orphwyso mewn lle na ddylai, a dinystrio prydferthwch cysylltiad y peth a lefaro, neu iddo fyned allan o anadl cyn cyraedd diwedd yr ymadrodd. Dylai llefarwr gymeryd ei anadl wrth fyned yn mlaen, ac nid aros hyd y diwedd; os gwna hyny bydd yn ddigon galluog i ddal i lefaru am yr hyd a ddewiso.

### GOSLEF.

Y mae Goslef yn gwahaniaethu oddiwrth Bwyslais a Gosteg, yn gymaint a'i fod yn rhedeg drwy adranau

gwahanol yr araeth oll. Golyga Goslef gyweiriad priodol y llais yn ol yr amryw seiniau a arferir wrth adrodd y meddwl. Ni wnai y iaith ardderchocaf y tro i adrodd y meddwl os na byddai y dôn yn briodol. Y mae llais yn un o brif ragorion areithydd. Y llais sydd yn cynyrfu y nwydau yn gyffredin, ac nid y mater a drinir. Lle y byddo y mater yn dda, a'r llais yn beraidd, bydd hyfrydwch y gwrandawyr yn fawr. Y mae mwy o redeg i eithafion gyda'r llais nag sy gyda mater. Y mae llawer o lefarwyr na feddant ddim ond eu Goslef i'w cymeradwyo i sylw y gwrandawyr; y mae amryw ereill na feddant ond grym eu mater i gael un math o sylw. Y ddau yn nghyd a wna fwyaf o les. Y mae tuedd yn yr hwn na fedd Oslef i feio yr hwn sydd yn meddu llawer o hyny; ond y mae hyny yn tarddu yn fynych o'r un ysbryd ag y tarddai anogaeth y llwynog yr hwn a gollodd ei gynffon i'w holl gyd-lwynogod fynu tori eu cynffonau ymaith.

---

## DARLLENYDDIAETH.

Y mae y gelfyddyd o Ddarllen yn dra buddiol, ac yn teilyngu sylw pawb; o herwydd, mae'n debygol, nad ydyw y mwyaf gwybodus yn ei chylch yn gwybod y cwbl a ellir ei wybod eto. Darlleniad yw ail adroddiad o feddylddrychau unrhyw awdwr; canys rhaid yw bod cyfansoddiad cyn y byddo darlleniad; ac y mae pob awdwr celfydd yn cyfleu ei feddyliau mewn trefn reolaidd, fel y dichon iddynt ymddangos mor oleueglur i'r darllenydd, neu, efallai yn fwy felly na phe byddai yr awdwr ei hun yn eu darllen. Y mae cyfansoddi yn gelfydd a darllen yn gelfydd yn ddau beth hollol wahanol; ac felly, dichon fod llawer o gyfansoddwyr gorchestol yn ddarllenwyr eithaf bongleraidd. Dywedir fod un o Feirdd campus yr Alban, yn darllen darn o'i waith prydyddol, yn nghlywedigaeth darllenydd celfydd unwaith, ac i'r darllenydd, mewn eiddigedd, gipio ei bapuryn o'i law ef, am yr ymddangosai nad ydoedd yr awdwr yn gwneud tegwch â'i waith ei hun,

Cywir ddarlleniad pwysleisiol o ryw waith fyddai ei ddarllen yn yr un dull ag y gwnai cyfansoddwr celfydd a fo'n yn ddarllenwr celfydd hefyd ddarllen ei waith ei hun. Nid oes dim a deifl fwy o anurddiad ar waith awdwr na darllen yn afreolaidd, ac o'r tu arall nid oes dim a ddengys ragoroldeb gwaith yn fwy na darllen yn rheolaidd; a dichon i ddarllenydd afreolaidd ddiflasu y gwaith godidocaf, ac i ddarllenydd rheolaidd beri i waith gwael ymddangos yr hyn nad yw. Dylai y pethau canlynol fod mewn golwg bob amser wrth ddarllen; sef, darllen yn y dull mwyaf boddlonol—mwyaf addysgiadol—a mwyaf effeithiol; ac ond medru hyn bydd naturioldeb a chysondeb yn y darlleniad. Y mae pob un a ddarlleno yn rhy araf a llusglyd yn dinystrio prydferthwch a synwyr yr hyn a ddarllenir ganddo, ac yn sicr o lwyddo yn y gwaith o ddiflasu ei wrandawwyr; ac er fod perygl mewn darllen yn rhy gyflym, eto, y mae pob cyfansoddiad yn gofyn ei ddarllen yn fywiog er dangos meddylddrychau yr awdwr a'u gwahanol ysgogiadau yn ei gyfansoddiad. Dull annghelfydd hollol yw pwysleisio ar bob Enw a Rhagenw, megis ar y Rhagenw *ef* yn yr adnod hon, "Fel yr adnabyddwyf *ef*; a grym ei adgyfodiad *ef*, a chymdeithas ei ddyoddefiadau *ef*, gan fod wedi fy nghydffurfio â'i farwolaeth *ef*."

### GWAHANOL YSGOGIADAU Y MEDDWL MEWN DARLLENYDDIAETH.

Nid oddiar yr un teimlad y mae pob math o ymadroddion wedi eu llefaru, o ganlyniad nid yr un llais ddylid ei arfer gyda phob ymadrodd; ond yn hytrach dylid newid y llais fel y byddo ansawdd yr hyn y traethir yn ei gylch. Llefarwyd rhai ymadroddion

O orchymyn; megis,

**"Llefa â'th geg, nac arbed; dyrchafa dy lais fel udgorn."**

O ddigllonedd; megis,

**"A'r arch-synagogydd a atebodd yn ddigllon, am i'r Iesu iachâu ar y Sabbath, ac a ddywedodd wrth y bobl, Chwe diwrnod sydd, yn y rhai y dylid gweithio: ar y rhai hyn gan hyny deuwch, a iachäer chwi, ac nid ar y dydd Sabbath."**

O anogaeth; megis,

"Y brodyr, os goddiweddir dyn ar ryw fai, chwychwi y rhai ysbrydol adgyweiriwch y cyfryw un mewn ysbryd addfwynder; gan dy ystyried dy hun, rhag dy demtio dithau."

O erfyniad; megis,

"Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrnas."

O serch; megis,

"Fy anwylyd sydd wyn a gwridog, yn rhagori ar ddeng mil."

O edifeirwch; megis,

"Fy nhad, pechais yn erbyn y Nef, ac o'th flaen dithau."

O ewyllysgarwch; megis,

"Yr Arglwydd yw efe: gwnaed a fyddo da yn ei olwg."

O gysur; megis,

"Yn y dydd hwnw cenwch iddi, Gwinllan y gwin coch. Myfi yr Arglwydd a'i ceidw; ar bob moment y dyfrhaf hi."

O ddewrder; megis,

"Duw a'th dery di, bared wedi ei wyn-galchu."

O hyder; megis,

"Wele, Duw yw fy iechydwriaeth; gobeithiaf ac nid ofnaf."

O dristwch; megis,

"Pan lefwyf a phan floeddiwyf, efe a gau allan fy ngweddi."

O betrusder; megis,

"Yna y dywedais, Ni soniaf am dano ef, ac ni lefaraf yn ei enw ef mwyach."

O lawenydd; megis,

"Cenwch i'r Arglwydd; canys godidawgrwydd a wnaeth efe; hysbys yw hyn yn yr holl dir. Bloeddia a chrochlefa preswylferch Sion; canys mawr yw Sant Israel o'th fewn di."

O ofn; megis,

"Yna y dywedais, Gwae fi: canys darfu am danaf."

O watwor; megis,

"Gwaeddwch â llef uchel: canys duw yw efe; naill ai ymddiddan y mae, neu erlid, neu ymdeithio y mae efe; fe allai ei fod yn cysgu, ac mai rhaid ei ddeffro ef."

O glodforedd; megis,

"O Arglwydd, fy Nuw ydwyt; dyrchafaf di, molianaf dy enw; canys gwnaethost ryfeddodau."

O anfoddlonrwydd; megis,

"Mi a ddywedais i chwi eisoes, ac ni wrandawsoch: paham yr ydych yn ewyllysio clywed drachefn?"

O syndod; megis,

"O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!"

O argyhoeddiad; megis,

"O! y Galatiaid ynfyd, pwy a'ch llygad-tynodd chwi fel nad ufuddhaech i'r gwirionedd?"

O ddychryn; mégis,

"Daeth dydd mawr ei ddigter ef, a phwy a ddichon sefyll?"

Y mae ysgogiadau gwahanol meddyliau awdwyr yn dra lluosog mewn darllenyddiaeth; ac angenrheidiol iawn, er eu dangos gyda phriodolder, yw i'r darllenydd ragolygu pa beth a gynwysir yn yr hyn a fwriedir ei ddarllen ganddo; oblegid heb hyn nid oes fodd iddo ddangos unrhyw ragoroldeb mewn unrhyw waith, canys pa mor anmhrïodol fyddai darllen y ddwy adnod ganlynol yn yr un llais: "Dwylaw gwragedd tosturiol a ferwasant eu plant eu hun: eu hymborth oeddynt yn ninystr merch fy mhobl." "Deuwch, canwn i'r Arglwydd: ymlawenhawn yn nerth ein hiechyd." Byddai yr ymadroddion galarus sydd yn yr adnod gyntaf, mor ddieffaith ar feddyliau y gwrandawyr a phe yr adroddid chwedl, pe darllenid hwy gyda y llais sydd yn briodol i'r adnod ddiweddaf; er hyny y mae rhai dynion mor anwybodus, hyd yn nod yn y byd crefyddol, nes y maent yn tybio fod yn rheidiol anhebgorol anffurfio y wyneb ac arferu rhyw dôn hirllaes ac aflafar wrth ddarllen pob rhan o'r Bibl; fel pe baent yn tybio fod yr ystumiau a wnant hwy ar eu peirianau ymadrodd yn santeiddio y gwirionedd, yr hwn sydd eisioes yn santaidd; ond priodolwn hyn, yn hytrach, i'w hanwybodaeth nag i'w helaethrwydd o ras ac o rinweddau Cristionogol; oblegid yr helaethaf ei ras a'r mwyaf ei wybodaeth yw y gweddusaf ei ymddygiadau gyda phob peth: ond sylwer, nid llai ceryddadwy yw ystumiau coegfalch a mursenaidd wrth ddarllen geiriau Duw; gan hyny dylid gochel rhedeg i

eithafion ar y naill law a'r llall; a'r rheol oreu i wneuthur hyn yn weddus ac mewn trefn, yw gweddio am gyfarwyddiadau yr Ysbryd Glân i ddeall y gwirionedd; wedi hyny, natur a chelfyddyd yn nghyd a'n cyfarwyddant ninau i ddarllen i ereill yn foddlonol—yn addysgiadol—ac yn effeithiol.

## Y PWYSLAIS.

Cyn y deuir i adnabyddiaeth gywir o'r pwyslais dylai y darllenydd ragedrych pa beth sydd yn benaf yn ngolwg yr awdwr yn ei gyfansoddiad; oblegid dyna yr unig ffordd i gael allan y pwyslais.

Er cynifer o amrywiaeth tônau sydd yn y byd gan rai darllenyddion, nid oes neb yn darllen heb roddi y pwyslais ar ryw air, neu eiriau, yn fwy nâ'u gilydd; y mae hyn yn profi fod darllen yn rheolaidd yn beth cyraeddadwy i bawb; ac y mae ambell ddarllenydd annghelfydd yn dygwydd darllen rai prydiau yn lled ddealladwy; er yn ddiwybod iddo ei hun. Nid oes un reol neillduol a sefydledig am osodiad y pwyslais mewn brawddegau fel am osodiad yr acen ar y sill olaf onid un yn mhob gair Cymreig, oddigerth mewn ychydig o eithradau megis yn y geiriau *cyfiawnhâu*, *caniatâd*, a'u cyffelyb; ond gellid ysgrifio y rhai hyn fel y disgynai yr acen yn rheolaidd trwy roddi dwy *a* ynddynt, fel hyn, cyfiawnäau, caniatäau, a phe rhoddid y pwyslais ar yr un gair yn mhob amgylchiad, teflid ein hiaith i ddyryswch a chymysgedd anorphen; wrth hyn y gwelir y gwahaniaeth sy rhwng cerddoriaeth a darllenyddiaeth; canys rhaid i'r cerddor ddilyn y nodau y byddo ei dôn wedi ei chyfansoddi arnynt er cadw cysondeb, dros aberthu synwyr yr hyn a genid ganddo; felly rhaid i'r darllenydd ddilyn y nodau acenawl yn ei eiriau; ond pe darllenid llawer o ddarnau prydyddol gan ddilyn yr acen dônawl ymddangosent yn annhrefnus ryfeddol; anaml y clywir un penill o emyn yn cael ei roi allan gyda phriodolder; rhaid i'r pregethwr gael *canu* y penill wrth ei roi allan, cyn y caniateir i'r gynulleidfa ei *ganu; ond* bydd y tônau yn wahanol; ei dôn ef yn

gyffredin a reolir gan ei *dymer* a'i *hwyl*, a thôn cantorion celfydd a reolir â rheolau priodol; a da fyddai gweled ymdrech yn mhawb (yn enwedigol Athrawon) i beidio a chymysgu pethau; ond rhoddi i bob peth ei le priodol; darllen pan ddylid darllen, a chanu pan ddylid canu. Perthyna i'r gelfyddyd gerddoriaethol reolau neillduol a phriodol, ac ni oddef ei rheoli gan unrhyw reolau ereill; ac er y gellid, a bwrw rheolau y gerddoriaeth o'r neilldu wneud tôn ar ryw emyn nes i'r geiriau a genid gael eu *canu* yn *bwysleisiol*, eto, damwain o gant fyddai cael emyn drachefn y gellid canu y gyfryw dôn arni, ac i hòno ymddangos yr un fath; felly rheol y cerddor yw dilyn ei nodau, a rheol y darllenydd yw dilyn y synwyr, heb ganddo unrhyw reol neillduol ac arbenigol i gael gafael arno ond wrth ei synwyr ei hun, a dysgwylir iddo fwrw cerddoriaeth heibio yn hollol pan yn darllen.

Wele yn canlyn rai engraffau er profi yr hyn a ddywedwyd; dylai y pwyslais fod yn yr adnod ganlynol ar y gair *di*, "Pwy a'th osododd *di* yn llywodraethwr ac yn farnwr arnom ni?" ond pe rhoddid ef ar yr un gair, sef *ti*, yn yr adnod a ganlyn, "A appeliaist *ti* at Cæsar?" taflai hyny dywyllwch ar synwyr yr ymadrodd; a gellid meddwl fod rhyw rhai ereill heblaw Paul yn sefyll eu prawf, pan mewn gwirionedd nad oedd yno neb ond efe yn unig, gan hyny dylai y pwyslais yn hon fod ar *Cæsar*.

Un arall, lle dylai fod ar y gair *chwithau*, "Yn y rhai y rhodiasoch *chwithau* gynt,—" ond pe pwysleisid ar *chwithau*, yn yr adnod hon, "A *chwithau* feistriaid gwnewch yr un peth tu ag atynt hwy," yn lle ar *feistriaid*, nis gallai'r synwyr fod mor ddealladwy.

Hefyd dylai fod ar y gair *hyny* yn yr adnod ganlynol, "Am *hyny* y dywedodd ei rïeni ef, Y mae efe mewn oedran; gofynwch iddo ef." Wrth bwysleisio ar *hyny*, naturiol i'r gwrandawyr ofyn "Am ba beth y dywedodd ei rïeni felly?" At. "Am *hyny;*" wel o ganlyniad fe'n harweinir i chwilio beth oedd wedi ei ddywedyd yn yr adnodau blaenorol; yr hyn a welir yn yr 20, 21,

a'r 22, o'r ix, bennod o'r Efengyl yn ol Ioan; sef, fod yr Iuddewon wedi penderfynu bwrw pawb a addefai yr Iesu yn Grist, allan o'r Synagog; "Am *hyny,*" sef, rhag cael eu *hysgymuno* y dywedasant, "Y mae efe mewn oedran, gofynwch iddo ef." Ond pe pwysleisid ar "Am *hyny*" yn y 10 adnod o'r un bennod, sef, "Am *hyny* y dywedasant wrtho, Pa fodd yr agorwyd dy lygaid?" ni fyddai yn brïodol, oblegid dylai fod yn hon ar y gair *agorwyd*; canys dyna'r prif beth ynddi, gan mai gofyn mewn syndod yr oeddent.

Y mae'r geiriau y dylid pwysleisio arnynt yn dygwydd bod yn fynych rai prydiau mewn ymadroddion; megis y gwelir yn yr adnod hon, "Ni ddichon neb wasanaethu dau arglwydd: canys naill ai efe a gasâ y naill, ac a gâr y llall; ai efe a ymlŷn wrth y naill, ac a esgeulusa y llall, Ni ellwch wasanaethu Duw a mamon." Yma, *neb, naill, llall, dau, gasâ, gâr, ymlyn, esgeulusa, mamon,* ydynt oll yn eiriau y dylid pwysleisio arnynt: derllyn rhai y rhan olaf o'r adnod uchod fel pe byddai y geiriau yn gwahardd i ni wasanaethu Duw â chyfoeth, gan ddywedyd, "Ni ellwch wasanaethu Duw â mamon," yr hyn sydd hollol groes i'r geiriau canlynol, "Anrhydedda yr Arglwydd â'th gyfoeth, ac â'r peth penaf o'th holl ffrwyth." Ond gwir ystyr y geiriau yw, nad oes fodd gwasanaethu Duw a gwasanaethu mamon ar yr un waith; syrthir i'r cyfeiliornad hwn trwy roddi sain *a* orddiganawl, [sef *â*] yn lle sain *a* gysylltawl, dylid eu darllen fel pe dywedyd, "Y mae'n anhawdd darllen a siarad ar yr un waith."

Eto, "A phwy o honoch gan ofalu a ddichon ychwanegu un cufydd at ei faintioli?" yma *gan, ofalu, ychwanegu,* a *cufydd,* ydynt eiriau y dylid pwysleisio arnynt oll, oblegid heb hyny nid dichonadwy dangos y buwyd yn sôn am *ofalu,* yn yr adnodau blaenorol.

Eto, "Nid yw y morgrug bobl nerthol, eto y maent yn darparu eu lluniaeth yr Haf; y cwnhingod nid ydynt bobl rymus, eto hwy a wnant eu tai yn y graig." *Yma nerthol* a *grymus* ydynt y geiriau pwysleisiol os *caniateir* mai arferiad trawsenwol yw'r gair *pobl* am y

*morgrug* a'r *cwnhingod;* eithr os i'r gwrthwyneb y mae, yna dylid pwysleisio ar *pobl* ac nid ar *nerthol* a *grymus*.

Eto, "Mi a ddywedais i chwi eisoes, ac ni wrandawsoch: paham yr ydych yn ewyllysio clywed drachefn? a ydych chwithau yn ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo ef? Hwythau a'i difenwasant ef, ac a ddywedasant, Tydi sy ddysgybl iddo ef; eithr dysgyblion Moses ydym ni." Yma *eisoes*, *wrandawsoch*, *chwithau*, *ddysgyblion*, *tydi*, *ef*, *Moses*, ydynt y geiriau pwysleisiol,

Eto, "Coron yr hynafgwyr yw eu hwyrion: ac anrhydedd y plant yw eu tadau;" gellir darllen yr adnod trwy newid y pwyslais a chael y pethau canlynol i'r golwg. Pwysleisio ar *coron* a ddenygs mai peth dymunol iawn yw meddu wyrion. Ar *hynafgwgr* a ddengys nad ydyw ŵyrion yn goron i neb arall heblaw hynafgwyr. Ar *wyrion* a ddengys mai dyna yw eu hunig goron. Ar *anrhydedd*, a ddengys mai bri a godidawgrwydd plant yw eu tadau. Ar *plant* a ddengys mai nid anrhydedd neb arall yw tadau. Ar *tadau*, a ddengys mai dyna yw eu hunig anrhydedd; erbyn hyn gwelwn fod yr holl eiriau a nodwyd uchod yn gofyn pwysleisio i ryw radd arnynt.

Eto, "O herwydd na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan am hyny calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drwg." Yma *barn yn fuan*, *am hyny*, ydynt eiriau pwysleisiol.

Y mae cryn wahaniaeth yn ngosodiad y pwyslais mewn gofyniadau; damweinia rai prydiau fod yn nechreu gofyniad, brydiau ereill yn ei ddiwedd, megis yn yr adnodau canlynol, "Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan!" dylai fod yn gystal ar y gair *pwy* yn hon ag ar y geiriau *glán*, *aflan:* hefyd, "Pwy a drig yn dy babell?" *pwy* yma sydd air nodedig; ond dylid ei roddi ar ddechreu a diwedd yr adnod hon, "Paham, Arglwydd, y sefi o bell? yr ymguddi yn amser gyfyngder?" h. y. ar ddechreu a diwedd y ddau ofyniad sydd ynddi; sef, ar *paham*, *bell*, *ymguddi*, a *chyfyngder:* ond y mae yn damweinio bod weithiau yn nghanol gofyniad hefyd, megis, "Pwy a'th osododd *di* yn llywodraethwr ac yn

farnwr arnom ni? A leddi di *fi* y modd y lleddaist yr Aifftwr *ddoe*?" yma mae *di*, *fi*, a *ddoe*, yn eiriau pwysleisiol, ac heb eu darllen felly nid oes fodd dangos creulondeb a diystyrwch yr Hebrëwr at Moses.

Eto, wele yn canlyn adnod y gellir pwysleisio ar bob gair o honi, a hyny yn tueddu i gael sylwadau buddiol ac adeiladol oddiwrthi; sef, "Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur?" Rhoddi y pwyslais ar *paham*, a ddengys fod ar y gofynwr eisiau gwybod rheswm y segurwyr dros eu hymddygiad. Ar *sefwch*, a ddengys y ffolineb oedd iddynt gychwyn os na wnaent rywbeth ychwaneg na hyny. Ar *chwi*, a ddengys y syndod oedd yn meddwl y gofynwr eu gweled *hwy* yn anad neb yn segura. Ar *yma*, a ddengys fwy o wrthuni yr ymddygiad, sef eu bod yn ymyl y gwaith, ac er hyny yn segura. Ar *ar hyd*, a ddengys y gresyni iddynt dreulio yr holl ddydd dan segura; peth rhy feius i'w oddef yw segura rhan o'r dydd, ond y mae segura *ar hyd* y dydd yn waeth na hyny. Ar *dydd*, a ddengys eithaf anmhriodolder y fath ymddygiad, oblegid amser i weithio yw y dydd, "Y mae y nos yn dyfod pan na ddichon neb weithio." Ar *segur*, a ddengys eto fwyhad y syndod, fel pe dywedid, gwell i chwi wneud rhywbeth na *segura;* canys nid yn ol medr rhai i wneud, ond yn ol fel y gwnant â'r medr sy ganddynt, yr ymddygir at ddynion yn y farn. "Da was, da a ffyddlon," a ddywedir yno, ac nid "*da was, da a medrus*." Gwelwn bellach fod geiriau pwysleisiol yn dygwydd yn amlach mewn ymadroddion nag y tybid ar yr olwg gyntaf. Llawer o adnodau ereill cyffelyb i hon a allesid eu nodi pe buasai lle yn caniatâu.

Yn bresenol sylwn ar gyfeiliornadau y rhedodd rhai iddynt drwy gam-bwysleisio, a cham-eirio. Pwysleisio ar *gilydd* yn lle ar *gelwydd* yn yr adnod hon, "Na ddywedwch gelwydd bob un wrth eich gilydd," a roddai ar ddeall i'r gwrandawyr fod yr Apostol yn caniatâu i'w frodyr ddyweud celwydd wrth ryw rai ereill, ond iddynt beidio a'i ddyweud wrth eu *gilydd.*

Eto, os rhoddir y pwyslais ar *wrando* yn lle ar *glust-*

*iau* yn yr adnod hon, "Y neb sy ganddo glustiau i wrando, gwrandawed," gellir tybio fod modd gwneud rhywbeth â'r glust heblaw *gwrando*, pan mewn gwirionedd mai priodol ac unig waith y glust yw gwrando.

Eto, os na phwysleisir ar *anesid* yn yr adnod hon, "Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb lygaid un a *anesid* yn ddall," Ioan ix, 32, bydd mawredd y wyrth a gyflawnwyd ar y dyn dall allan o'r golwg; oblegid agoryd ei lygaid ac yntau yn *ddall genedigol* oedd y rhyfeddod; canys clybuwyd am amryw yr achoswyd eu dellni trwy afiechyd, yn cael cymorth meddygol nes eu dwyn eilwaith i weled, ond ni chlybuwyd am yr un erioed a *anesid* felly yn cael ei olwg ond trwy wyrth.

Dull un gwr yn darllen yr adnod hon yn destyn, "Ac yn nghanol y saith ganwyllbren, un tebyg i Fab y dyn, wedi ymwisgo â gwisg laes hyd ei draed,—" Dat. i, 13, oedd, "Wedi ymwisgo â gwisg "*lâs*;" ac yna yr oedd yn profi ei bwnc trwy ofyn, "Paham yr oedd yn *lâs?*" At. "Trwy ei gleisiau ef yr iachâwyd ni." Diameuol fod hyn yn wir, ond nid y gwir cynwysedig yn yr adnod hon mo hono.

Un arall yn dosturiol iawn wrth Paul yn wyneb y driniaeth gâs a gafodd yn Jerusalem, a ddywedodd, "Yr oeddynt yn erlid Paul ac yn ei alw yn *Rôg*," ac yna darllenai yr adnod hon, "A fedri di Roeg?" Act. xxi, 37, fel hyn "A fedri *di*, *Rôg?*"

Un arall a ddarllenodd hon, "A Samuel a gymerth laeth-oen ac a'i hoffrymodd—" 1 Sam. vii, 9, fel hyn, "A Samuel a gymerth *laeth* oen. "Yr ydych yn cyfeiliorni," ebai'r neb oedd yn gwrando, "trwy ddyweud *llaeth oen*, dylech ddyweud *llaeth-oen;* oblegid gan ba *oen* y gwelsoch chwi laeth?" "O," ebai yntau, "wedi *misio* rhoi'r gair i lawr y maen' nhw; *dafad* y dylasai fod, ac nid *oen*." Pe cymerasai hwn ychydig o bwyll a hamdden gallasai wybod mai oen sugno *(suckling lamb)* a offrymwyd gan y proffwyd.

Un arall a ddarllenodd hon, "Yna y gelwi, a'r Arglwydd a etyb; y gweiddi, ac efe a ddywed, "Wele fi," Esay lviii, 9, fel pe buasai wedi ei hatalnodi yn y

dull canlynol, "Yna y gelwi—a'r Arglwydd a etyb y gweiddi—ac efe a ddywed, "Wele fi," yn lle "Yna y gelwi, a'r Arglwydd a etyb;" ac fel ychwanegiad at yr anogaeth o alw arno, "Y gweiddi," ac efe a ddywed, "Wele fi."

Darllenir yr adnod hon gan rai yn gyfeiliornus, "Am hyny y dewisai fy enaid ymdagu, a marwolaeth yn fwy na'm hoedl," Job vii, 15, dywedant fel hyn "Ymdagu â marwolaeth," yr hyn sydd hollol afresymol; y maent yn seinio yr *a* sy rhwng "*ymdagu*" a'r gair "marwolaeth" fel pe byddai gorddigan uwch ei phen [â] ac nid ydynt yn sylwi ar yr atalnod sydd ar ol "*ymdagu;*" dyma fel y mae yn Saesoneg—"*My soul chooseth strangling*, and *death rather than my life*."

Trwy fyned heibio i'r nod yn ddisylw darllenir yr adnod hon, braidd, bob amser yn gyfeiliornus, "Y mae efe yn lletya gydag un Simon, barcer; tŷ yr hwn sydd wrth y môr." Act. x, 6, fel pe dywedid, "Y mae efe yn lletya gydag un Simon Roberts;" yn lle dangos mai *barcer* oedd crefft y gŵr, ac nid ei gyfenw; hawdd y gellid gochel hyn trwy sylwi ar yr atalnod; a deall yr ymadrodd fel y mae yn Saesoneg, "*Simon, a tanner*."

A hon a ddarllenir yn gyffelyb, "——Trwy yr hwn yr ydym yn llefain Abba, Dad." Rhuf. viii, 15, gan na thelir sylw i'r nodau: yr un peth yw dyweud "Abba, Dad," a phe dywedid *Tad*, *Tad;* gan hyny dylid eu darllen a dangos fod nod rhyngddynt.

Darllenir yr adnodau canlynol yn gyfeiliornus yn gyffredin; sef, "A hyny a'i harwain ef at frenin dychryniadau," (Job xviii, 24), drwy ddyweud, "at frenin *y* dychryniadau." Nid brenin *y* dychryniadau ydyw, ond brenin dychryniadau. "*King of terrors*," nid "*King of the terrors*." "Gan fod genyf chwant i'm datod," (Phil. i, 23), drwy ddyweud "chwant i ymddatod." Chwant i gael ei ddatod oedd ar yr Apostol, ac nid chwant i ddatod ei hun, megis y mae "ymddatod" yn arwyddo. Y mae yn debyg fod y ffugyr wedi ei gymeryd oddiwrth long wrth angor. Ereill fydd yn datod y llong ac nid y llong ei hun yn "ymddatod."

Hyderaf y gwel y darllenydd yn wyneb yr engraffau hyn y gofal a ddylid ei gymeryd wrth ddarllen; yn enwedigol geiriau y Bibl santaidd, rhag tadogi cyfeiliornadau ar y gair digelwyddog, trwy wneud iddo lefaru peth na fwriadwyd iddo lefaru erioed. Hawdd y gallesid dynodi engraffau ereill, er dangos gwrthuni cam-ddarlleniad a cham-adroddiad, nid yn unig ar eiriau y Bibl, ond ar emynau, megis rhyw hurtyn a ganodd y darn penill hwn,

> "Ar Galfari yn ngwres y dydd
> "Y caed y gwystyl mawr yn rhydd,"

fel hyn,

> "Ar Galfari yn ngwres y dydd
> "Y caed y "*bwystfil*" mawr yn rhydd!!!"

Un arall a ganodd

> "Pwy ŵyr na chai cyn tori 'r wawr
> "Wir etifeddi 'r '*felldith*' fawr!!!"

yn lle 'r "*fendith fawr*."

Ond y mae darllenwyr o'r fath a nodwyd yn myned yn anamlach, a hyderir mai anamlach fyddant; ond er cymaint mae y Cymry wedi ddiwygio oddiwrth bethau gwarthus dros ben fel rhai o'r rhai y sylwasom arnynt, eto, y mae rhy fychan o sylw yn cael ei dalu yn ein hysgolion yn gyffredinol i ddarllen yn bwysleisiol; ceir clywed rhai y gellid dysgwyl pethau gwell oddiwrthynt, o ran yr amser a'r manteision a gawsant, yn darllen yn lled annghywir; ac nid ydyw hyd yn nod ein Hareithfäoedd yn lân hollol yn wyneb y cyhuddiad; go drwsgl ac afreolaidd y darllena llawer a fynant gyfenwi eu hunain yn Athrawon; am addasrwydd y cyfryw i gymeryd arnynt y fath swydd bwysig barned y darllenydd diduedd.

Er cynifer o leisiau gwahanol sy berthynol i bob ymadroddion, eto dylai pob darllenydd fod yn egwyddorol yn y cwbl cyn y gallo ddarllen mewn modd dyladwy; ac nid all hyny ein difeddianu o'r parch a'r sobrwydd a weddai fod ynom wrth ddarllen yr Ysgrythyrau sant-

aidd, ond yn hytrach ein cynorthwyo i ddangos y godidawgrwydd annghydmarol sydd ynddynt. Buddiol fyddai i athrawon yr Ysgolion Sabbathol gael cyfarfodydd i ddarllen gyda eu gilydd.

---

## RHEOLAU BARDDONIAETH.

### Y GYNGHANEDD GYMREIG.

Cyn sylwi, yn neillduol, ar y mesurau, buddiol, er mwyn y dysgawdwr ieuanc, fydd egluro rhai pethau a ymddangosant yn dywyll o berthynas i'r gair *cynghanedd;* wrth gynghanedd y deallir cydatebiad y cydseiniaid mewn braich, neu linell farddonol; ond sylwer, nid ydyw y llafariaid, neu y bogeiliaid, i gydateb; dim ond y cydseiniaid yn unig: yr enw sydd ar hyd llinell farddonol yw cyhydedd; y mae saith bath o'r rhai hyn; hyny ydyw, y mae saith hyd gwahanol yn perthyn i linellau barddonol neu gynghaneddion:

Y mae un gyhydedd, yr hon a elwir Cyhydedd Fèr, nad oes ynddi, ond pedwar sill; megis,

Gwaeledd gelyn.

Y mae pum sill mewn cyhydedd arall, sef, y nesaf ati, yr hon a elwir Cyhydedd Wen; megis,

Llon y modd llawn maeth.

Y trydydd hyd yw y Gyhydedd Lâs, ac y mae yn hono chwe sill; megis,

Heb wiwdeg wybodaeth.

Y bedwaredd gyhydedd yw yr un a elwir y Gyhydedd Gaeth, yr hon a gynwys saith sill; megis,

Mal cerub yn mol corwynt.

Y bumed yw y Gyhydedd Draws, yr hon a gynwys wyth sill; megis,

Naf a erys yn ei fawredd.

Y chwechfed yw yr hon a elwir y Gyhydedd Drosgl, ac ynddi naw sill; megis,

Lleuer haul awyr, lloer oleuwen.

Y seithfed yw y Gyhydedd Hir, yr hon a gynwysa ddeg sill; megis,

Canpwyth cywreiniawl cnapwaith coronog.

Bydd rhai yn arfer unsillarddeg a deuddeg, er mai deg sill yw yr hyd sefydledig. Ffurfir yr holl freichiau, neu y llinellau a gyfansoddant Awdl ar y Pedwar Mesur ar Hugain o fewn y terfynau uchod. Yn bresenol, ymdrechir dangos natur cyfansoddiad cynghanedd; ac i'r dyben hwnw defnyddiwn y llinell ddeg sill; sef,

Canpwyth cywreiniawl cnapwaith coronog.

Haner y llinell hon yw pum sill; sef,

*Canpwyth cywreiniawl.*

Yr haner arall yw,

*Cnapwaith coronog.*

Yn awr, er gweled y gynghanedd, tyner y llafariaid o'r ddau ddarn; megis,

c n p th c r n l
c n p th c r n g

gwelir erbyn hyn fod *c, n, p, th*, yn y gair *cnapwaith*, i ateb i'r *c, n, p, th*, yn y gair *canpwyth; c, r, n*, yn y gair *coronog* i ateb i *c r n* yn y gair *cywreiniawl;* dalier sylw, pe buasai *l*, yn niwedd y gair *coronog* yn lle *g* buasai hyny yn feius; neu pe buasai *g* yn niwedd y gair *cywreiniawl* buasai hyny yn feius hefyd; ni waeth pa gydsain fyddo yn diweddu yr haner cyntaf o'r fraich, na'r haner diweddaf, ond iddynt beidio bod yr un peth; gwnaethai y llinell y tro hefyd, pe buasai llafariad yn niwedd yr haner cyntaf, os na buasai llafariad yn niwedd yr haner diweddaf; fel hyn,

Canpwyth ceir yno cnapwaith coronawg.

neu fel hyn,

Canpwyth cywreiniawl cnapwaith ceir yno.

Ond ni wnaethai y tro o ran synwyr fel yna; ond dengys hyn natur cyfansoddiad y gynghanedd a elwir y Gynghanedd Groes; ac etyb y cydseiniaid eu gilydd yn mhob cyhydedd ar y Gynghanedd Groes. Er eglurhad pellach sylwer ar y pethau canlynol:

Dwy brif gynghanedd sydd; sef, Cynghanedd Groes a Chynghanedd Sain, ac o'r rhai'n y deillia cynghaneddion ereill; megis y deillia amryw ranau ymadroddion o Enw a Berf.

Ymddibyna y Gynghanedd Groes yn benaf ar y cydseiniaid, ac y mae tair rhyw o honi, sef, Croes Rywiog, Croes o Gyswllt, a Chroes Ddisgynedig.

1. Croes Rywiog a genir wyneb a gwrthwyneb, a hi ydyw'r orau o'r cynghaneddion, oblegid y mae'r holl gydseiniaid sydd ynddi yn gyd-atebol; fel hyn,

Cydradd â mi cedrwydd Môn,——*wyneb*
Cedrwydd Môn, cydradd â mi,——*gwrthwyneb*

Neu yn gyfan fel hyn,

Cydradd â mi cedrwydd Môn,
Du Eryri, dewr wron.
Cedrwydd Môn cydradd â mi
Dewr wron du Eryri.

2. Croes o Gyswllt y gelwir braich y bo y gydsain olaf yn y brif orphwysfa (h. y. y gydsain olaf yn haner y llinell, yr hyn a ddygwydd yn y trydydd neu y pedwerydd sill) yn ateb i'r gyntaf yn y fraich; Cyfan Gyswllt, fel hyn,

| | |
|---|---|
| *Ch*wyddai ser*ch* y dduwies hon. | *ch—ch.* |
| *D*w'r a thu*d* awyr a thân. | *d—d.* |

Croes Haner Cyswllt yw bod haner grym *c*, *p*, neu *t*, yn y brif orphwysfa yn ateb i *g*, *b*, neu *d*, yn nechreu y fraich fel hyn,

| | |
|---|---|
| *G*wr ieuan*c* yw rhy ehud. | *g—c* |
| *B*un orwem*p* wen iraidd. | *b—p* |
| *D*yn a welais*t* yn wylo. | *d—t* |

Croes o Gyswllt Ewinog yw bod dwy gydsain feddal yn ateb un galed; neu yr ebychnod *h* yn cymorth g, d, b, i ateb *c*, *t*, *p*, fel hyn,

*Eu tra* hyno*d d*irionwch, *t—d d*
*C*ywir enwo*g g*âr ini. *t—g g*
*T*ân eilia*d h*wn a welir. *t—d h*

Croes o Ddwbl Gyswllt, fel hyn,

*G*wneu*d d*igo*n* o ategau. *d d—t*

Croes o Gyswllt Ddisgynedig, fel hyn,

Dyn a'i nôd yn enwedig.

3. Croes Ddisgynedig yw bod yr orphwysfa, yr hon a fydd bob amser yn un sill yn cynghaneddu â'r sill nesaf i'r brifodl, fel hyn,

Isel fan i'w sail-feini. *fan* a *feini.*

Croes Ddwbl Ddisgynedig yw bod gair yr orphwysfa yn disgyn ar ychwaneg nag un gydsain yn y gair prifodlawg, fel hyn,

A dwyn gafr dan y gyfraith. *gafr—gyfr.*
Y môr dwfn mae rhaid ofni. *wfn—ofni.*

Gyda llafariad, fel hyn,

A hwn ddoe a wnae ddewis. *oe—ewis.*

Deillia Cynghanedd Draws, neu Groes Ganolgoll o'r Gynghanedd Groes; sef, y rhai y gadewid cydseiniaid yn eu canol heb ddim yn ateb iddynt, gan fyned drostynt i gyrchu cynghanedd.

Traws Gyferbyn, fel hyn,

Tyred (fyfyrdod) tirion.

Traws Annghydbwys, fel hyn,

Gwiw ednaint (ar wydd) gwydnion.
Bro hardd (arogl) bêr yw hi.
Trengaf (cyn y) tyr angen.

Traws o Gyswllt Ewinog, fel hyn,

Tiriawdd (y gwilliaid) dewrion.

Traws Gyfnewid, fel hyn,

Awen (mor bêr a'r) ëos.

Traws Ddisgynedig, fel hyn,

Da y twrn (gwedi) teirnos.
Ar ol (eu herydr) eilwaith.

Traws Fantach, fel hyn,

Teg (yw'r peth a wnaethost) ti.

Gelwir hon yn Draws Fantach o herwydd ei bod mor wag o glöau, neu blethiadau o'r dechreu i'r diwedd.

II.—AM GYNGHANEDD SAIN.

Cynghanedd Sain yw cydodliad y gorphwysfäau o ddechreu y braich, neu y llinell i'r diwedd.

Sain Unodl, fel hyn,

Tragwyddawl anfarwawl Fod.

Yr orphwysfa gyntaf yn y llinell hon sydd yn niwedd y gair *tragwyddawl*, sef, *awl;* yr ail orphwysfa sydd yn niwedd y gair *anfarwawl*, sef *awl;* gan hyny y mae y ddau *awl* yn cydodli fel hyn *awl, awl;* h. y. mae yr un sain yn niwedd y ddau air; ac y mae yr *f* yn y gair *anfarwawl* yn gafael yn yr *f* yn y gair *fod;* fel hyn, *anfarwawl Fod;* ond pe buasai *l* yn niwedd y gair *fod*, buasai hyny yn feius.

Sain Unodl o Gyswllt, fel hyn,

Yn ei fâr rheibia rywbeth.

*Fâr* yw yr orphwysfa gyntaf yn hon, a chyrchir yr *r* o ddechreu y gair *rywbeth* at yr *a* yn niwedd y gair *reibia* er cael sain; ac yna y mae y gair *reibia* yn seinio fel hyn *rheibiar;* ac o herwydd hyny fe'i gelwir yn Sain Unodl o Gyswllt.

Sain Lefn, fel hyn,

Mawredd bro Wynedd bur iach.

Diwedd y gair *mawredd*, sef, *edd*, yw yr orphwysfa gyntaf yn hon; a'r *edd* yn *Wynedd* yw yr ail; heblaw y cydodliad hwn y mae y cydseiniaid yn *bro* a *bur* yn ateb eu gilydd.

Sain Gadwynog, fel hyn,

Dyn y sydd yn adyn sal.

Y mae hon yn cyfranogi o ansawdd Cynghanedd Groes a Chynghanedd Sain; y mae *sydd* a *sal* yn ateb i'w gilydd; ac y mae *dyn* ac *adyn* o'r un sain gydodlawg, ac nid oes ond yr *n* yn yr Arddodyn *yn* yn rhwystro iddi fod yn Groes gyflawn.

Sain Groes fel hyn,

Ior yn wiw Bor ini bydd.

Y mae *Ior* a *Bor* yn cydodli; ac y mae yr *r* yn *Ior* yn ateb i'r *r* yn *Bor;* a'r *n* yn yr Arddodyn *yn* yn ateb i'r *n* yn *ini;* a *Bor* yn ateb i *bydd.*

Sain Wyrdro, fel hyn,

Da ddyn doeth, gyfoeth gwiwfawr.

Sain Ddisgynedig, fel hyn,

Anwybodaeth gaeth gethin.

Y mae *caeth* yn cydodli ag *aeth* yn y gair *anwybodaeth;* ac y mae yn disgyn ar *geth*, yn *gethin.*

Sain Bendroch, fel hyn,

Y ffrwythlon, wyrddion erddi.

Ystyr y gair Sain Bendroch yw sain yn diweddu yn ddrylliog neu yn agored; megis uchod.

Sain Ddyblyg, fel hyn,

Tad mad, rad rydd, sydd, fydd, fwyn.

Y mae yma dri *ad* yn cydodli, a thri *ydd*, ac y mae *fydd* yn gafael yn *fwyn.*

Sain Gudd, fel hyn,

Daioni'r tir a fwytewch.

Y mae yr *r* ar ol *daioni* yn cydodli ag *ir* yn y gair tir; y mae yn swnio fel pe darllenid hi fel hyn *daionir.* Rhywbeth debyg yw hon i Sain Unodl o Gyswllt.

O'r Gynghanedd Sain y deillia Cynghanedd Lusg; h. y. pan ddodir rhyw sill o'r braich i gydodli â'r sill nesaf i'r brifodl.

Llusg Lefn, fel hyn,

A'i wddf anw*ar* fal t*ar*an.

Yma gwelir *ar* yn y gair *anwar* yn cydodli a'r *ar* yn y gair *taran.*

Llusg o Gyswllt, fel hyn,

Gellir crybwyll *am Samson.*

Y mae yr *s* yn nechreu y gair *Samson* yn cydio yn yr *m* yn *am*, fel hyn, *ams*, a'r *ams* hwn yn cydodli â'r *ams* yn *Samson.*

Llusg o Ddwbl Gyswllt, fel hyn,

Mae llwybr fry yn y wybrfraith.

Y *br* yn *llwybr* yn cydio yn *fr* yn *fry*, fel hyn *llwybrfr*, a'r rhei'ny yn llusgo at y gair *wybrfraith*.

Llusg Wyrdro, fel hyn,

Clywed dy *lais* a *geisiaf.*

Y mae *ais* yn *lais* yn gwneud y tro i gydodli a *geis* yn *geisiaf.*

Llusg Gysylltgudd, fel hyn,

Gwr a gwraig sy'n ddau agos.

Yr *a* o flaen *gwraig* yn gwneud sain *ag*, a hwnw yn cydodli ag *ag* yn y gair *agos.*

D. S. Dylid peidio dodi Cynghanedd Lusg ar y fraich ddiweddaf o unrhyw benill, nac ychwaith ar ddwy fraich nesaf i'w gilydd. Ac ni chymeradwyir Cynghanedd Lusg fel hyn, "Rhai o'r *byd* sy'n ynf*y*d-ion," fel un berffaith, oblegid rhoddi yr *y* yn ei sain dywyll i ateb i sain eglur.

## AM GYNGHANEDD GYMYSGEDIG.

Cynghanedd Gymysgedig yw plethiad o amryw gynghaneddion yn yr un braich.

Cynghanedd Seingroes Rywiog, fel hyn,

*Gwr* sy'n *dwr*, â gras a'n deil.

Seingroes o Gyswllt, fel hyn,

*Dawn* hynod *iawn* yw hono.

Seingroes Gadwynog, fel hyn,

*Iawn* ar*wydd dawn* hyr*wydd deg.*

Seindraws, fel hyn,

Na gwr *un gyflwr* ag ef.

Seingroes o Gyswllt Ddisgynedig, fel hyn,

*Llawn* faith gell *iawn* fwth gwylliaid.

Trawsgroes o Gyswllt Ddisgynedig, fel hyn,

U*n* o'r *bru*'n rhyw bêr ëos.

Cynghanedd Drawslusg, fel hyn,

*Dilys*, ni wêl d*a*w*e*lwch.

Croes o Gyswllt a sain lefn, fel hyn,

Iaith gu'n gwaith gan y gwr.

## AM Y CYMERIADAU.

Cymeriad yw gosod cydatebolrwydd yn nechreu pob braich i'w gilydd.

Tri math o gymeriad sydd ; sef, 1. Cymeriad Llythyrenol, yn yr hwn y cedwir yr un gydsain i ddechreu y y breichiau, fel hyn,

Ciwed a sarug gywion
Cant aml gwys a phwys ei ffon.

Hefyd Cymeriad Llythyrenol y gelwir llafariaid a fyddont yn dechreu'r breichiau, er na fyddont o'r unrhyw, megis,

O'r man y gwelir Menai,
Yn ei threfn o lanw a thrai.
E rydd hon i wr o ddysg
Arwyddion cywir addysg.

2. Cymeriad Cynghaneddol Cyfochrog, sef, bod geiriau dechreuol y breichiau yn cydgynghaneddu, fel hyn,

Mawr*waith* ei rwysg mor uthr yw
Meith*waith* di-ad*waith* ydyw.

3. Cymeriad Synwyrol, sef, pan gyflawnir synwyr y fraich gyntaf, yn yr ail, fel hyn,

Gwyrdd lysiau a gardd laswawr,
A ysent,—llyfent y llawr.

Arall,

Truenus, gwydus, a gwywedig—ddyn,
  Ni ddeil ond ychydig,
  O wên ei Dduw Ion, na'i ddig,—
  Greadur gwan, llygredig.

## AM GANIATAD GODDEFOL YN Y CYNGHANEDDION.

Y gydsain *n* a oddefir yn nechreu braich o Gynghanedd Groes, neu Draws, heb yr un *n* i'w hateb, ond nid mewn rhan arall o'r fraich, ac fe'i gelwir yn *n* wreiddgoll, fel hyn,

*N*a'i dirionach drwy einioes.

Neu ar ol llafariaid, fel hyn,

Ei*n* Duw haelionus, hyd eleni.

Ond ni oddefir yr un gydsain arall heb un i'w hateb oddieithr *h*, yr hon ni ystyrir yn berffaith gydsain, ond a elwir yn gyffredin yn ebychnod, o herwydd paham gellir ei goddef hi heb yr un i'w hateb; megis yn y llinell ganlynol,

Hyd ŵyliau canu'r delyn.

Goddefir hefyd dwy gydsain i ateb un, fel hyn,

Er co*ff f*yth o'r cy*f* ieithwyr.

Hefyd *g* i ateb *c* yn y Cysylltiad *ac*, fel hyn,

*Ac* yn ei fedd *g*wyn ei fyd.

Hefyd goddefir i b, d, dd, f, g, l, lechu yn nghysgod p, t, th, ff, c, ac ll, a hyny yn ddifeius, o herwydd fod grym y p, t, &c., yn gorchfygu sain y lleill, fel hyn,

Gwyne*b* *p*res a'i ginio *p*rin.
Ma*b* *p*enaeth gorwym*p* hynod.
*T*ueddes graig at *d*oddi.
Y fa*th* *dd*rain a fei*th*rinir.
Ei phri*f*-*ff*yrdd drwy'r Dophra*ff*eld.
Yr haw*g* *c*enir rhai *c*anoedd.
Llythyreg ga*ll* *l*ithrig goeth.

Hefyd egnia cydsain rymus un feddal weithiau, fel hyn,

Pwy a wêl ostwng eich pala*sd*ai.

Hefyd dywedir y cyll *w* ei grym ar ol pob llythyren lawdd, megis yn y llinell hon,

Difeth rwygodd y ple*th*wrysg.

Hefyd ni ystyrir y geiriau hyn ond un-silliaid, sef *twrw*, *croyw*, *galw*, *meddw*, *hoyw*, *cadw*, *tusw*, *gwelw*, &c., megis,

Y mae'n cadw twrw fel taran.

Ond fe'u harferir weithiau yn ddau-silliaid, megis,

Marw wna'r carw'n y coed.

Caniateir arfer Odl Gudd hefyd mewn braich, sef, drwy gysylltu'r brifodl â'r llythyren nesaf ati, pa un bynag ai mewn gair cyrch Unodl Union, ai mewn breichiau ereill, megis,

Hir adeg bum yn rhodio—drwy Wynedd
Dirionwych a hyglod.

Arall mewn Deuair Hirion, fel hyn,

Gwerthfawrocach harddach hi
Na da olud aur dilin.

BEIAU GWAHARDDEDIG CERDD DAFOD.

1, Twyll Awdl, sef, bod anmherthynas rhwng yr odlau, fel hyn,

Rhyw warthus dro pur wrthun *u*
Hynod yw llysenwi dyn. *y*

*u* yn ateb i *y* yn niwedd y llinellau.

Neu,

Bro sy'n oruchel ei br*ig* *ig*
Yw'n hanwyl fro gynhen*id*. *id*

*ig* yn ateb i *id*.

2, Twyll Cynghanedd; Twyll Gwreiddgoll yw bod cydsain yn nechreu'r fraich heb yr un yn ateb iddi, fel hyn,

*O'r* ddrycin gynddeiriocaf. *r*—

Twyll yn y sain yw dodi *u* i ateb *y*, neu *ai* i ateb *ae*, fel hyn,

Mae'n amser dr*u*d enb*y*d iawn. *u* ac *y*
Gwaith *Cain* ar *faen* o fynor. *ai* ac *ae*

Twyll yn y sain o fath arall fel hyn,

**Un am gynal da*dl* yw'r dyn.**

Twyll pengoll yw bod y gair nesaf i'r gair prifodlawg yn ol o gydsain neu ddwy, fel hyn,

**Er ffrost a *bost* y *bwyst*fil.** *bost—bwystf*

Nid oes yr un *f* ar ol *bost;* fel hyn gwnaethai y tro, bwyst*fil* bost*fawr*.

Twyll o eisiau llythyren fel hyn,

**Dwyn w*n*ai gwraig dan ei gwregys.**

y mae yr *n* yn y gair *wnai* heb un i ateb iddi.

Dywedir mai nid twyll yw dodi *ng* i ateb *n* ac *g*, fel hyn,

**Anglod arall mewn gwladwriaeth.**

3. Gormod Odlau, sef, pan fyddo gair un o'r gorphwystäau yn cydodli â'r brifodl, fel hyn,

***Dawn* enwog serchog lwys, *iawn*.**

yma y mae *dawn* a *iawn* yn cydodli.

Dywed rhai mai goddefol yw dodi un sill weithiau mewn braich er iddo gydodli â'r brifodl, fel hyn,

***I* un eiddil i'w nodd*i***
***I* allu sôn ei lles h*i*.**

4. Proest i'r Awdl, sef, pan fo'r brif orphwysfa â'r brifodl yn proestio â'u gilydd, fel hyn,

**Un yw a bai*d* yn y by*d*** *baid, byd.*
**Gwirione*dd* gwr o Wyne*dd*.** *edd, edd.*

Proest Llafarog, fel hyn,

**Un ba*i* ni welodd na b*u*.** *bai, bu.*

ond dadleua rhai fod yr *n* yn nechreu *ni* yn gwneud hon yn oddefol.

Haner Proest, fel hyn,

**Un ydwy*t* heb newidia*d*.** *wyt a iad.*

5. Dybryd Sain, fel hyn,

**A chlywe*d* hyfe*d* ei hai*d*.** *ed, ed, aid.*

6. Camosodiad, h.y., y cydseiniaid; er bod o honynt un am bob un yn y braich, eto, y maent, wedi eu camosod, fel hyn,

Cywir un yw canwr iawn.

Rhaner y llinell uchod fel hyn heb y llafariaid,

*c r n   c n r.*

7. Gwest Awdl, sef, bod yr un gair ddwywaith yn annghyfansawdd yn mhrifodl yr un Englyn, fel hyn,

Cywrain wr sy'n caru ein *iaith*—yw'r gwr
Rhagorol dilediaith;
Gwr enwog am gywreiniaith,
Drwy ei oes—paladr y *iaith.*

*Iaith* yn y dechreu a *iaith* yn y diwedd heb fod yn gysylltedig â gair arall.

8. Trwm ac Ysgafn, sef, bod geiriau yn y brifodl yn annghydbwys megis, tân, tàn; glân, glàn; mân, màn; gwâr, gwàr; fel hyn,

A siriol wedd daeth Israel *lân*—rai cu
Drwy'r Môr Coch i Ganaan,
A'r rhyflwng Pharo aflan,
Uthr ei lid ni ddaeth i'r *làn.* *glân* a *glàn.*

9. Lleddf a Thalgron, fel hyn,

Hyfryd clywed, gweled *gwyr,* *wýr.*
A soniant am werth syn*wyr.* *ẁyr.*

Arall mewn sain, fel hyn,

Byrb*wyll* yw'r ty*wyll* wr tost. *pẁyll* a *gwŷll.*

10. Crych a Llyfn, sef, camosodiad y cydseiniaid yn y brif orphwysfa i ateb y brifodl, fel hyn,

Gwr o fri'n agor ei farn.

11. Ymsathr Odlau, sef, pan fydd rhan o sill yr orphwysfa yn sathru ar sill y brifodl, fel hyn,

Diau gwel nad yw ond gwael. *el, ael.*

12. Garllaes, sef, pan fydd dwy brifodl yn lluaws-sill yn lle bod un yn un sill, fel hyn,

Anenwog yw dyn annoeth,
Er gafael mewn mawr gyfoeth.

13. Tin Ab, sef, pan fydd dwy brifodl yn un sill yn lle bod un yn lluaws-sill, fel hyn,

> Drwy y byd i isder bedd,
> Awn i gyd yn wael ein gwedd.

14. Rhy Debyg, sef, pan fydd yr orphwysa a'r gair prifodlawg yn yr un acen, ac mor debyg i'w gilydd fel na fydd, efallai, onid un lythyren yn eu hatal i gydodli yn gwbl, fel hyn, mewn Cynghanedd Sain,

> Hyfryd i droi byd y bydd.

Arall mewn Cynghanedd Draws,

> Tiriodd fy nghyfaill tirion.

15. Tòr Mesur, sef, pan fydd mwy neu lai o sillau nag sydd yn ofynol yn ol y rheolau mewn braich, fel hyn,

> Y dyn a fo'n meddu doniau, 8 sill
> E gaiff hwn ei goffâu. 6 sill

Nid ydyw yn Dòr Mesur dodi cydsain neu llafariad yn nghesail llafariad arall, fel hyn,

> Mawrion gyrff drwy'r môr yn gwau.

Arall a llafariad ynddi,

> Mewn llawn hedd mae'u hanedd hwy.

### BEIAU MEWN SYNWYR CERDD DAFOD.

1. Unig a Lluosog yn nghyd, fel hyn,

> Gwyr glew gaiff ragor o glod.

2. Gŵydd ac Absen yn nghyd, fel hyn,

> Gwelaf y dyn o'r golwg.

3. Gwrrywaidd a benywaidd yn nghyd, fel hyn,

> Cu rodd yw caffael gwraig cryf.

4. Clod a Gogan yn nghyd, fel hyn,

> Rhywiog wr yw'r pry' garw.

5. Drwg Ystyr, sef, canu moliant anmherthynasol, fel hyn,

> Llewpart gwaraidd blaidd heb lid.

6. Cam Amser, fel hyn,

"Wyf yma yn ol f'amod,
Drenydd a beunydd yn bod.

7. Rhy ac Eisiau, sef, gormod o eiriau cyffelyb o ran eu harwyddocad, heb ynddynt ond ychydig synwyr; megis,

Diwar wr anwar gorwyllt.

O.Y.—Y mae rhai yn ceisio haeru fod dodi *dd* i ateb *th* yn haner Proest, megis yn yr engraffau canlynol:—

"Goreu gwai*th* yn gaerog we*dd*." GWALLTER MECHAIN.
"Odiae*th* lysieuwraig ydoe*dd*." GUTYN PERIS.

Fel

"Gwraig Lo*t* yn gareg lwy*d*;"

Y cwbl a ellir ddweud am y peth yw, na nodwyd erioed mo hono fel gwall hyd y cyraeddodd ein sylw ni; ond gwelsom hanes rhywrai yn cymeryd yn eu penau i'w nodi yn Haner Proest, ond ni nodasant y rheol y mae yn droseddu. O'n rhan ein hunain, arferwn ef yn ddibetrus, ac anogwn bawb ereill i wneud hyny pan ddelo yn eu ffordd.

Bu rhai hefyd mor ynfyd a haeru fod llinell fel hon,

"Tragwydd*o*l, anfarw*o*l F*o*d."

yn feius, ond ni bu neb o'r beiwyr mor gymwynasgar a'n hysbysu yn erbyn pa reol y mae yn troseddu.

---

## Y PEDWAR MESUR AR HUGAIN.

DOSBARTHIR y Pedwar mesur ar hugain yn dair rhan; sef, Englyn, Cywydd, ac Awdl.

### AM ENGLYNION.

DAU ryw Englyn, neu Ynglyn, sydd; sef, Englyn Unodl, ac Englyn Proest; y mae tri math o Englynion Unodl; sef, Unodl Union, Unodl Cyrch, ac Unodl Crwca.

## I.—ENGLYN UNODL UNION.

Y MAE pedair llinell i fod mewn Englyn Unodl Union; y llinell gyntaf yn cynwys deg sill; yr ail yn cynwys chwech; a'r ddwy olaf yn cynwys saith bob un. Gelwir y ddwy linell gyntaf yn Baladr; trefn gosodiad y geiriau yn y Paladr sy fel y canlyn; sef, os Cynghanedd Sain a ddefnyddir gofelir am i'r *Rhagwant** neu yr ail orphwysfa yn y llinell gyntaf, fod yn y bumed sill, fel hyn,

Gwlad milwyr arwyr | eirioes

Yma diwedd y gair *arwyr*, sef, *wyr* yw y Rhagwant; rhifer y sillau, a cheir fod pum sill o ddiwedd *arwyr*, i ddechreu y llinell. Y Gwant, neu, yr orphwysfa gyntaf yn y llinell, yw diwedd y gair *milwyr*, sef, *wyr;* gellir gosod y Gwant, sef, yr orphwysfa gyntaf ar y sill a fyner o'r gyntaf i'r bedwaredd: traethir ar hyn yn mhellach: gwelir mai *oes* yw y brifodl yn y llinell uchod, ac y mae saith sill yw ei hyd, gan hyny rhaid i'r darn sydd i'w dilyn, sef. y Gair Cyrch fel y gelwir ef, fod yn dri sill; ac yna bydd yn ddeg sill; fel hyn,

Gwlad milwyr, arwyr eirioes,—gwlad doniau,
Gwlad dynion gwareiddfoes,

* Y mae bardd Nantglyn yn galw *Gwant* yn *Rhagwant*, a *Rhagwant* yn *Gwant*; hyny ydyw, Rhagwant y geilw ef yr orphwysfa gyntaf mewn llinell, a Gwant y geilw efe yr ail; dywed fel hyn,

"Gellir rhoddi gosodiad cyntaf y sain, sef, y Rhagwant, yn mhob Toddaid o'r sill gyntaf i'r bedwaredd; ond rhaid i'r ail osodiad, sef y Gwant, fod bob amser yn y bumed sill."—*Gwel tudal.* 124 *o'r Ieithadur.*

Dywed Iolo Morganwg fel y canlyn,

"Toddaid a wneir o gyswllt dwyfraich o'r *Gyhydedd wenn* mewn modd neillduol; neu fann o'r *Gyhydedd wenn* ag un o'r *Draws* yn yr un modd; a llyma'r ffordd y bydd y bannau; y bann cyntaf a fydd o'r *Gyhydedd wenn,* fel hyn; sef o bedair rhann. Gwant, Rhagwant, Gobenydd, a gair Toddaid; rhaid bod y Rhagwant yn wastad ar y bummed sill, a'r Gwant yn unodl a'r Rhagwant ar yr un a fynner o'r pedair sill cyntefigion."—*Gwel Cyfrinach y Beirdd, tudal.* 95.

A dywed y Dr. Owen Puw fel y canlyn;—

"Rhagwant, The advanced division, a term in prosody for the accented part of the second pause of a verse of *Unawdl Union,* or the fifth syllable, concatenating with a preceding sound."—*Gwel y Geiriadur dan y gair Rhagwant.* Tybiwyd yn rheidiol wneud y sylw hwn fel na *byddo y* bardd ieuanc mewn dyryswch.

y Gair Cyrch yw *gwlad doniau*, yr hwn sy'n cynghaneddu gyda'r *gwlad dynion* yn yr ail linell. Rhifer y sillau yn y llinell uchod, a cheir ei bod yn cynwys deg; a'r ail yn cynwys chwech: a diwedd yr ail linell yn cydodli â'r *oes* yn y llinell gyntaf. Dyna y Paladr. Gelwir y ddwy linell ddiweddaf mewn Englyn yn Esgyll; cynwysant saith sill bob un, ac y mae diwedd y ddwy i gydodli â diwedd y ddwy fraich, neu, linell yn y Paladr; fel hyn,

Boed iti rwydd lwydd heb loes
Du ragfarn nac un drygfoes. DANIEL DDU.

a gofaler am fod y gair diweddaf yn y llinell nesaf, neu y diweddaf oll yn yr Englyn yn un-sillafog. Y mae gan y bardd ryddid i arfer yr un a fyn ai gair unsill, neu ddausill, neu yn rhagor yn y gair prifodlawg yn y linell gyntaf, ond rhaid i un o'r ddwy linell ddiweddaf feddu gair un-sillafog yn y brifodl.

Y mae dau fath o Gyrch yn perthyn i Englyn Unodl Union; sef, Cyrch Cynghanedd fel yr un uchod, neu Gyrch Awdl; fel hyn,

Y dduwiol dorf a ddeuant—o'r ddaiar
A llachar llewychant.

Yma diwedd y gair *llachar*, sef *ar*, sydd yn cydodli â diwedd y gair *daiar* yn y Gair Cyrch: dai*ar*, llach*ar*; ac y mae y cydseiniaid, sef, yr *ll* a'r *ch*, yn y gair *llachar*, yn ateb i'r *ll* a'r *ch*, yn y gair *llewychant*, megis y sylwyd o'r blaen ar natur y gynghanedd. Rhoddwn yn awr engraffau o'r Gwant ar wahanol sillau; dyma un a'r Gwant yn y sill gyntaf oll, nodir y sill lle bo y Gwant a'r Rhagwant â llythyrenau Italaidd:

Englyn a'r Gwant yn y sill gyntaf,

*Gwen* a rhywiog *lên* Rhagluniaeth,—nwyfiant
O nefawl wybodaeth;
Dylif o ysbrydoliaeth
Yw dawn a ffrwd awen ffraeth. G. JAMES.

Arall a'r Gwant yn yr ail,

Och *loes*! och, eil-*loes*, och, alar,—durew!
Och! dori mor gynar,
Ireiddwen gangen a'i gwâr
Flodeuyn i fol daiar. BARDD NANTGLYN.

Arall a'r Gwant yn y drydedd,

Mae meill*ion* gwyn*ion* ugeiniau,—lliwdeg,
Yn dilladu'r caeau:
A gwisgir, paentir pob pau,
Fel Eden â heirdd flodau. DANIEL DDU.

Arall a'r Gwant yn y bedwaredd,

Cefais orm*od* cl*od* am ddwyn cledd,—ces wg,
Ces wên byd, a'i fawredd,
Gwel y fan, i fychan fedd,
Y deuais yn y diwedd. GUTYN PERIS.

Gellir wedi cael y Gwant a'r Rhagwant yn rheolaidd, megis yn yr engraffau dywededig, orphen y llinell gyntaf o'r Paladr, trwy ddodi o un hyd yn bedwar sill yn y Gair Cyrch; ond sylwer ni ddylai y llinell fod yn hwy nâ deg sill trwy y Gwant, Rhagwant, Prifodl, a'r Gair Cyrch; dyma Englyn a'r Gair Cyrch yn un sill,

Gwiw fwa trilliw i fyd drylliog,—rhoed
Er hyder calonog:
Na anghred a hwn y'nghrog,
Nid dylif nod tawelog. N.

Arall a'r Gair Cyrch yn ddau sill,

Hedydd yn brydydd bwriadawl—a gyrch,
A gorchest bylgeiniawl,
I weini'n bur awenawl,
Cynar ei gerdd, cân i'r gwawl. IOLO MORGANWG.

Arall a'r Gair Cyrch yn dri sill,

Oer len ei farwol anedd—o'i ogylch
A egyr ar ddiwedd;
Daw'r afrifawl dorf ryfedd,
Feirwon byd, i farn o'u bedd. R. AB G. DDU.

Arall a'r Gair Cyrch yn bedwar sill,

Briw, braw, brwyn! mawr gwyn gaeth!—bradwy, yn awr,
Brydain wen, ysywaeth!
Dros Gymru llen ddu a ddaeth;
Anhuddwyd awenyddiaeth. GUTYN PERIS.

Gellir dechreu Englyn Unodl Union gyda'r Gynghanedd Groes, neu'r Gynghanedd Draws, neu'r Gynghanedd *Lusg* os dewisir, ac ni raid gofalu am Want na Rhagwant

yn y rhai hyn; ond os caniata y synwyr, disgyna yr orphwysfa yn ddigon esmwyth ar y bumed sill; megis,

Paradwys wemp, prid y son,—Eden deg,
Yn dwyn dail a meillion
O'i hamgylch ogylch—eigion
Y môr hallt yw muriau hon. DEWI WYN.

Arall yn dechreu â Chynghanedd Lusg, a'r orphwysfa yn y bumed sill,

Mae ynddi brid neint godidog,—coedydd
Ac adar asgellog;
Ardal eirian lle càn côg,
A'r dinam gôr adeiniog. G. PADARN.

Arall heb yr orphwysfa yn y bumed sill,

Dacw ruthriad y chwyrn gadau,—a'u swn
Yn dadseinio'r creigiau,
A dynion gwylltion yn gwau
Drwy bylor a dur belau! G. CAWRDAF.

Gellir diweddu Englyn â phob cynghanedd ond y Gynghanedd Lusg, ond nid mor gymeradwy yw Cynghanedd Sain yn ei ddiwedd, er nad ellir dyweud dim yn ei herbyn, gyda golwg ar y rheolau; dywed un awdwr dysgedig, "W. Wyn a feiodd Oronwy Owain am ei fynych arferiad o'r Cynghaneddion *Sain* a *Llusg* yn ei Gywydd y Farn; er, fe allai, eu bod yn fwy goddefol mewn Cywydd nac Ynglyn. Y Du o Fôn a ymddiheurodd yn erbyn y Gwyn, fod iddo ryddid i ddewis y cynghaneddion a fynai. Mae hyn yn deg. Ond os cyfansodda bardd i foddio rhywun heblaw ef ei hun, mae rhyddid i'r rhywun hwnw farnu pa gynghanedd sydd yn seinio yn fwyaf peraidd yn ei glust ef. I gloi Ynglyn dymunem ni gael Cynghanedd *Groes*. Barned pawb yn ol ei archwaeth."

### II.—ENGLYN UNODL CYRCH.

Cynwysa Englyn Unodl Cyrch bedair braich, a chynwysa'r breichiau saith sill bob un; y ddwy fraich gyntaf yn cyfodli fel esgyll Englyn Unodl Union; ac y mae y drydedd linell yn odli yn wahanol gan gyrchu

sill o ganol y bedwaredd linell i'w hateb, a chyfodla y bedwaredd linell â'r ddwy gyntaf o hono; fel hyn,

Ow dyn, bryfyn brau, afiach,
Yn dwyn ei bwn, adyn bach;
Rhag ei weled rhed yr haul,
Wres araul, yn brysurach. DEWI WYN.

Arall,

Ni char yr Iôn, union wr,
Enaid un anudonwr;
Cyn hir, e lyncir i lyn,
Y gelyn a'r gwrthgiliwr. D. DDU, *Eryri*.

III.—ENGLYN UNODL CRWCA.

Cynwysa Englyn Unodl Crwca bedair braich, y ddwy gyntaf yn saith sill bob un, fel paladr Unodl Cyrch, a'r ddwy olaf yn Doddaid o un sill ar bymtheg rhyngynt fel paladr Unodl Union; ond fod y gosodiad yn y llinell olaf yn cydodli â'r Gair Cyrch hyny, yn nghyd â'i osodiad yn y gwrthwyneb yw'r rhagor sy rhyngo âg Unodl Union; fel hyn,

Gwyr enwog o wroniaid
Yn hanu o Gymru gaid;
Y dydd blin da oedd y blaid—o ddewrion
A mawrion Omeriaid. PEDR FARDD.

Deuryw Englyn Proest sydd, sef, Proest Cyfnewidiog a Phroest Cadwynodl.

IV.—AM BROEST CYFNEWIDIOG.

Cynwysa Proest Cyfnewidiog bedair braich, a chynwysa pob braich saith sill, a rhaid fod yr un gydsain yn niwedd pob braich, os cydsain fydd diwedd y brifodl; ond y mae'r llafariaid terfynol i'w newid yn yr amrywiol odlau; fel hyn,

I Adda hil eiddil oll,
Aeth yn etifeddiaeth fall;
Hen Hunan a'i hamcan hyll,
Trodd y pwynt i raddau pell. GWYNDAF ERYRI.

Arall, a rhai o'i geiriau prifodlawg yn lluaws-sill; fel hyn,

Chwimwth rhed fy nychymyg;
Mi a'i gwelaf i'm golwg.
Hwnt i'w hir daith, antur deg,
Ar y môr i'r Amerig. GUTYN PERIS.

Arall chweban, o Ramadeg Sion Rhydderch, ac ynddo Gymeriad Llythyrenol; cyfansoddir Proest hefyd o saith ban, sef nifer y llafariaid,

Llawn yw'r tir lle llenwir llid,
Llawn rhwysg beilch, llyna y rhod,
Llawer rhai a lloriau'r hud,
Llwau mawr a rhoi llym wad,
Llwgr a broch hyll a gair brwd,
Llwyra' bai mor ddall yw'r byd. EDMUND PRYS.

V.—PROEST CADWYNODL.

Cynwysa Proest Cadwynodl yr un rhif o freichiau a Phroest Cyfnewidiog, sef, pedair; a'r un rhif o sillau, sef, saith yn mhob braich; a'r gwahaniaeth sy rhyngynt yw, am fod y linell gyntaf o'r cadwynodl yn cydodli â'r drydedd linell, a'r ail yn cydodli â'r ddiweddaf; fel hyn,

Plwm du yn ysgythru'r coed,—
Y gwellt yn fathrfa mewn gwaed—
Malu a baeddu pob oed,
Yn ddarnau,—drylliau tan draed. G. CAWRDAF.

Arall,

Byth tra bo na cho' na cherdd,
Nac un byw, nac Awen Bardd,
Na dwr oer, na daiar werdd,
Pery ei glod hynod hardd. GWALLTER MECHAIN.

Arall, a'r gair diweddaf yn lluaws-sill,

Aeth i fyd gwynfyd y gwawl,
A'i ysbryd mewn hyfryd hwyl;
Medi mae yn myd y mawl,
Ardderchog urdd ei orchwyl. BARDD NANTGLYN.

Arall yn terfynu mewn amrywiol acen,

Daethym o'm gwlad fad, fro ferth,
Yma i fyw mewn ammorth;
Och orfod gwybod ei gwerth,
Er niwaid i'm bron ëorth. G. PADARN.

Arall yn terfynu mewn llafariaid,

Beirdd a bôn ffyddlon yn ffoi,
Gan anheddwch, drwch di drai,
Mîn y cledd awchlym yn cloi
Grymusion, wrolion rai! DEWI WYN.

### AM GYWYDDAU.

Tri rhyw fesur Cywydd sydd, sef, Cywydd Deuair, neu Deufraich; Cywydd Llosgyrnog; ac Awdl Gywydd.

Dau rhyw Gywydd Deuair sydd; sef, Deuair Byrion a Deuair Hirion.

### VI.—AM GYWYDD DEUAIR BYRION.

Cynwysa Deuair Byrion ddwy fraich o bedair sill bob un, prifodl un yn lluaws-sill, a'r llall yn un sill, ac ni waeth pa un a rodder yn nghyntaf; fel hyn,

Treiswyr trawsion,
I'n hiaith wen hon. GRO. OWAIN.

Arall, o Ramadeg Sion Rhydderch,

Gair clod gwr clau
Geirwir gorau.

D. S. Cysylltir Deuair Byrion â rhyw fesur arall weithiau, o herwydd ei fyrdra, a'i wendid wrtho ei hun, megis y canlynol, â Thoddaid,

Gwaeledd gelyn
Yw gwawd a gwŷn:
A fyddai doeth fodd y dyn,—drwy wrthladd,
A barai angladd i bêr englyn? P. FARDD.

Arall, wedi ei gysylltu â Deuair Hirion ac Awdl Gywydd.

Haelaf hwyliad
O les i'w wlad
Er dygiad tra diwygiol
Ein gwlad rydd o ffydd Pab ffol
I loywddawn, trwy fawr ludded
A nodded gwyr rhinweddol. GUTYN PERIS.

### VII.—AM GYWYDD DEUAIR HIRION.

Cynwysa Deuair Hirion ddwy fraich, o saith sill bob un, prifodl un yn lluaws-sill, a'r llall yn un sill, a gellir rhoddi yr un a fynir o'r llinellau yn nghyntaf, sef, y lluaws-sill neu'r un sill, a'u newid bob yn ail fel yr elir yn mlaen; fel hyn,

Och! arch, erchwyn, grystyn gro,
*Cist* hirnos, ceuaist arno. SION LLEYN.

Arall,

Gwae! wired yw gair y doeth,
Y daw gofid o gyfoeth. DEWI WYN.

Ar y gwir mae rhagoriaeth,
O'm lleddir am wir, ba waeth? IEUAN TEW.

Arall,

Ni chydfydd awenydd wâr
A dynion dybryd anwar. GRO. OWAIN.

Y tir gwyllt mewn tor gelltydd,
Egin a ddwg yn ei ddydd. IEUAN BRYDYDD HIR.

Arferir Deuair Hirion yn fynych mewn barddoniaeth, oblegid fod y fath felusder yn ei sain, a'r fath rywiogrwydd yn ei blethiad; gwneir weithiau Gywydd o gryn feithdra yn terfynu ar yr un brifodl; megis,

Tynu mae'r byd at anwir
Enllibio a gwawdio Gwir;
Troi wyneb at yr anwir
Bradychu, a gwerthu Gwir.

ROBERT WILLIAMS, *Eifionydd.*

D.S. Er y cyfrifir ei fod yn gryn orchest plethu cywydd yn synwyrol, a'r un gair yn terfynu pob llinell megis uchod, eto cywydd a newidio ei brifodl a gyfrifir felysaf; megis,

Hedodd, ymgasglodd pob gwynt,
Dywibiodd i'r deheu-bwynt,
I gyd weithredu'n llu llawn
A'r gygus ferwog eigiawn.
Byddinoedd Iôr o'r môr maith
Taranawg, ant ar unwaith:
Cymylau fyrddiynau dd'ant
Yn heidiau chwai ehedant
Ar wyllt wasgar gyda'r gwynt
A'i adenydd chwyrn danynt:
Duon oedd ei edyn ef
Yn llenwi yr holl wiwnef. DAFYDD IONAWR.

### VIII.—AM GYWYDD LLOSGYRNOG.

Cynwysa Cywydd Llosgyrnog ddwy fraich, neu bedair, os mynir, o wyth sill bob un, a braich o losgwrn o saith sill yn nglyn âg ef, trwy i'w ganol fod yn cydodli

â phrifodl y breichiau blaenorol, a'i ddiwedd yn terfynu ar odl wahanol; fel hyn,

Duw goreudeg a waredodd
Ei dda weision a ddewisodd;
E rwygodd y mawr eigion. GWYNDODYN.

Gellir cysylltu dau o'r rhai hyn yn nghyd, ac arferir weithiau Awdl Gywydd yn gysylltedig âg ef; megis,

Ond ei rinwedd, iawn dirionwch,
I ni rhoddodd Iôn yr heddwch,
O'i dadolwch da dilys;—
Ar lwydd ei ras rhwydd rhoes râd
Ddiwalliad ei dda 'wyllys. BARDD NANTGLYN.

Arall gyda Thoddaid,

Pur y noddodd bob rhinweddau,
A chyhuddodd ddrwg fucheddau,
Yn ei deithiau bendithiol;—
Er neb ni throai yn ol;—llafuriai,
Treuliai a feddai yn ufuddol. GUTYN PERIS.

## IX.—AM AWDL GYWYDD.

Y mae mewn Awdl Gywydd ddwy fraich yn cynwys saith sill bob un, ac y mae yr orphwysfa yn yr ail fraich yn cydodli â'r brifodl yn y gyntaf, pa un bynag ai un sill ai ychwaneg fyddo y gair prifodlawg; megis,

Dygn adwyth digwyn ydoedd,
Tros oesoedd tra y Saeson. G. OWAIN.

Arall a'r gair prifodlawg yn un sill,

Mewn cerdd lanwaith, berffaith bydd
Awdl gywydd odlig awen. P. FARDD.

Gellir cysylltu dau o'r rhai'n yn nghyd, neu ei gysylltu â rhyw fesur arall fel y byddo yn fwyaf cyfleus.

## AM AWDLAU.

DYWED y Cadben W. Middleton am Awdl fel y canlyn; "Awdl yw caniad o amryw fesurau, yn ol arfer sathredig; eithr wrth gerdd y tri phrif-fardd, a dull Cynddelw, ac arfer holl ieithoedd Europia ni ddylai onid un mesur fod yn yr un caniad; a pha fesur y dechreuer, cynal hwnw drwy yr Awdl, pe Gorchest y Beirdd fyddai: *ac os* hir fyddai'r caniad mae'n rhydd newid y brifodl.

Wyth mesur Awdl y sydd; Cyhydedd, Toddaid, Gwawdodyn, Hupynt, Cadwyn fesur, Cyrch a Chwta, Clogyrnach, a Gorchest y Beirdd."

Y mae newidiad wedi cymeryd lle yn hyn; oblegid defnyddir y Pedwar Mesur ar Ugain mewn Awdl, gan amryw o'r prif-feirdd; ac Awdl y gelwir cyfansoddiad a gynwysa lawer llai na phedwar ar ugain o'r mesurau.

### X.—AM DODDAID.

Cynwysa Toddaid ar ei ben ei hun ddwy fraich, y gyntaf yn ddeg sill fel Unodl Union; a'r ail yn naw sill, a'r orphwysfa, yr hon, dymunol fyddai ei chael ar y bumed sill, yn cydodli â'r Gair Cyrch fel hyn,

Praw y seren, prysura!—gwel Gomer;
Tad yw a philer tud hoff Walia. P. FARDD.

Dau yn nghyd fel hyn,

Ceir yw adrodd fel 'rwy'n crwydro—daiar
Yn war heb gymar i ymgomio:
Mae'm iaith deg eilwaith ar gilio—yn lân
Draw i ddiyngan diroedd ango'! I. G. GEIRIONYDD.

Cysylltir y mesur hwn ag un arall weithiau, megis, yr un a ganlyn â Deuair Hirion,

Per awdl wen hyawdl o'n hiaith
A gorona gywreinwaith:
Ei seiniau gwiw sy enwog waith,—os rhydd
Synwyr, awenydd, sain ar unwaith. P. FARDD.

### XI.—AM FYR A THODDAID.

Cynwysa Byr a Thoddaid wyth braich, y ddwy gyntaf fel paladr Unodl Union; yn un sill ar bymtheg rhyngynt, a phedair braich yn ddilynol o wyth sill bob un yn cydodli â'r rhai cyntaf, a Thoddaid o un sill ar bymtheg yn nglyn wrth hyny, ar yr un brifodl; fel hyn,

Torwyd, datodwyd tidau—gwyr Affrig
Er hoffrwydd i'w breintiau,
Acw, dyned fu'r cadwynau!
Elwa dynion ail eidionau!
Ni bu cyllyll neu bicellau
Yn darwain noethach driniaethau;
SIOR fu rydd rwygydd yr iau,—dadglymodd,
Llwyddodd ei allweddau. BARDD NANTGLYN.

### XII.—AM HIR A THODDAID.

Cynwysa Hir a Thoddaid chwe' braich; pedair o honynt yn ddeg sill bob un, a Thoddaid o ugain sill yn nghlyn â hwynt, ac yn cydodli; fel hyn,

Mae paganiaid yn mhob pau i gwyno,
Mae digon o wahoddion o'u heiddo;
Hen Edom enwawg hi yn dymuno,
Hir bu anialwch Arabia'n wylo
O! cychwynwch cewch yno—eich cyfarch
Ar benau hybarch Horeb a Nebo. DEWI WYN.

Arall,

Rhyw olwg hagr yw gwel'd mam a'i dagrau,
Hyd ddwyrudd lwydion, wynion ddefnynau,
Ei baban tirion, a'i weinion enau
Yn bur anwyl yn sugno ei bronau,
A'i dillad yn rhwyg dyllau,—ar dwmp grug
Gwael, a barug, yn dysgwyl y borau. G. CAWRDAF.

A'r cymeriad llythyrenol ynddo,

Poenau a gofid ein Pen a gafodd,
Poen a du lafur, pan y dolefodd,
Poen a loesau mawrion, pan lesmeiriodd,
Poen i'w gorff anwyl, pan y gorphenodd,
Poenau arteithiau a'i todd,—a diau,
Poenwyd yr angau ei hun pan drengodd.

R. AB GWILYM DDU.

### XIII.—AM WAWDODYN BYR.

Cynwysa Gwawdodyn Byr bedair braich, dwy o honynt yn naw sill bob un, a Thoddaid o bedair sill ar bymtheg yn nglyn wrthynt, ac oll yn cydodli; fel hyn,

Awel dyner fy hen wlad anwyl
A oedai ddyddiau, oriau f' arwyl;
O! brysia enwog breswyl—i'r meddiant
Cu y dynesiant—mîn cadw noswyl.

I. GLAN GEIRIONYDD.

Arall,

Parhaol wrthrin blin, heb lonydd,
Rhwng y ddwy gwiwdawd, difrawd efrydd!
Ys dir, gwisgasai Derwydd—ryw gudded,
Rhag eu gweled yn rhwygo'u gilydd! GUTYN PERIS.

### XIV.—AM WAWDODYN HIR.

Cynwysa Gwawdodyn Hir chwe' braich, pedair o honynt yn naw sill bob un, a'r ddwy ereill, sef, Toddaid yn bedair sill ar bymtheg, fel Toddaid Gwawdodyn Byr; fel hyn,

Er mawr lesiant o'r amryw lysiau,
Dyn diwybod sy'n dwyn ei dybiau
I Dduw osod rhai yn ddieisiau;
Barnu 'n aflesol, radol reidiau,
Aml ddail fel y mêl ddiliau—ddibrisir,
Y rhai ni wyddir eu rhinweddau. GUTYN PERIS.

Arall,

Cawn i'w yfed y cynhauaf-win
Eto o gerdded at ei gorddin,
Hafal i'r grisial yw'r gaer iesin,
Rhyfedd fawr anedd y nef Frenin;
Mawl Iesu yw'r melyswin—pur wleddau
Nid arlwyadau dirol Odin. D. DDU, *Eryri.*

### XV.—AM HUPYNT BYR.

Cynwysa Hupynt Byr ddwy fraich, y gyntaf yn bedair sill, a'r ail yn wyth sill, ar y Gyhydedd Draws, a chydodla y bedwaredd sill o'r ail fraich â'r fraich gyntaf, ac y mae ei ddiwedd ar odl wahanol; fel hyn,

Yn ein cerddi
Gwallus ini golli synwyr. P. FARDD.

Awdl o ddau yn nghyd,

Dy ddiddanwch
A'th ddifyrwch, waethaf fwriad,
Yw eu clwyfo
A'u dolurio, dial irad. DANIEL DDU.

### XVI.—HUPYNT HIR.

Cynwysa Hupynt Hir dair braich, y ddwy gyntaf yn bedair sill, a'r ddiweddaf yn wyth sill, ac yn cydodli fel Hupynt Byr; fel hyn,

Pob graddolion.
Dan eirf gloewon,
Is llywyddion, weis llueddawg.

Ac yn atebol iddo,

Pob cerddorion,
A'u lleis mwynion,
Oll ymuno'n gorff llumanawg. DEWI WYN.

Arall,

Ysgrifenydd,
Myg areithydd,
Deg areilydd, di gwerylon:
Hynafieithydd,
A chyfieithydd,
Iawn gyweirydd, enwawg wron. GWYNDAF.

XVII.—AM GLOGYRNACH.

Cynwysa Clogyrnach bum braich, y ddwy gyntaf yn wyth sill bob un, ac yn cydodli; a'r ddwy nesaf, yn bum sill bob un, ac yn odli yn wahanol; a'r olaf o chwe' sill, a'i chanol yn cydodli â'r ddwy fraich nesaf ati, a'r diwedd yn cydodli â'r breichiau cyntaf, fel hyn,

Ni chair hylwydd wych reolaeth,
Na gwiw syniad un gwasanaeth;
Gafael na gofeg
Mewn dim yma'n deg,
Heb wiwdeg wybodaeth. GUTYN PERIS.

Arall o Ramadeg Sion Rhydderch,

I'w thai eleni waith haelionedd,
Aml yw lluniaeth mal y llynedd,
I gaer ragorawl
Ac arfaeth gwirfawl
Amodawl ymadwedd. S. FYCHAN.

XVIII.—AM GYRCH A CHWTA.

Cynwysa Cyrch a Chwta wyth braich, o saith sill bob un, a'r chwe' braich gyntaf yn cydodli; ac odl y seithfed yn wahanol, ac yn cydodli â'r orphwysfa yn y fraich olaf fel Awdl Gywydd. a diwedd yr olaf yn cydodli â'r rhai cyntaf; fel hyn,

Y gwyr doeth gywir deithi,
Yn nghanol gwae, yn nghyni,
Derbynient, rhag dirboeni
Gyfodiad o'r gofidi:
Duw a rydd ar daer weddi,
Adnewyddiad i'w noddi;
F' arwain y rhai'n i wir hedd,
At rinwedd, o'u trueni. D. DDU, *Eryri*.

Arall yn odli ar acen wahanol; fel hyn,

Neud heb wagedd, tebygu
Mae ein Seren gymen gu
I'r un hygar, wen, wiwgu
A'i threm ar Fethl'em a fu;
At y preseb wynebu
Wnai o bell dywell nos du:
Yr un modd mewn llwyrfodd llon
Tywysed hon at Iesu. P. FARDD.

### XIX.—AM GYHYDEDD FER.

Cynwysa Cyhydedd Fer bedair braich, o wyth sill bob un, ac yn cydodli; fel hyn,

Aed, wâr enaid, aed, wr union,
Aed ragorwalch diwair, gwirion,
I fro Iesu fry a'i weision;
I'r gain gaerau a gwen goron. GRO. OWAIN.

### XX.—AM GYHYDEDD HIR.

Cynwysa Cyhydedd Hir dair braich, y ddwy gyntaf yn bum sill bob un, ac yn cydodli; a'r drydedd fraich yn naw sill, a'r bumed sill o honi yn cydodli â'r lleill, a'i diwedd yn terfynu ar odl wahanol; fel hyn,

Er astrus rwystrau,
Dyrus flinderau,
Gwrthwynebiadau, gwarth enbydus.

Ac yn atebol iddi, fel hyn,

Digas eu dygwyd,
Dilyth eu daliwyd,
Iawn eu harweiniwyd yn orhoenus. GWYNDAF.

### XXI.—AM GYHYDEDD NAW BAN.

Cynwysa Cyhydedd Naw ban bedair braich, o naw sill bob un, ac oll yn cydodli; fel hyn,

Lle bu gwenwyn a hyll baganiaeth,
I bawb oddef o dan babyddiaeth,
Llaw go'euni yn lle gelyniaeth
Dirymai'r chwil-lys, drom orchwyliaeth. D. DDU, *Eryri*.

Arall o chwe' braich, fel hyn,

Yn awr y cwynaf, na wyr canoedd
Mwy nâ'r 'nifail am Ner y nefoedd:

Areithio molawd, wrth y miloedd,
I *Huan* a *Lloer* wna llaweroedd;
Rhoi addoliant i ryw eiddiloedd
Na roe wybodawl er y bydoedd. GUTYN PERIS.

## XXII.—AM ORCHEST Y BEIRDD.

Cynwysa Gorchest y Beirdd dair braich, y ddwy gyntaf yn bedair sill bob un, ac yn odli wyneb a gwrthwyneb; a'r fraich ddiweddaf yn saith sill, â'r bedwaredd sill o honi yn cydodli â'r lleill; ac wedi ei phlethu yr un fath; a bydd diwedd y fraich hon yn odli yn wahanol; fel hyn,

Iach lwydd, wech wlad
Hylwydd hwyliad,
O'i rwydd wiw rad rydd yr Ion. P. FARDD.

Gan fod y fath gaethiwed a chyfyngdra yn y mesur hwn wrtho ei hun, fe'i cysylltir yn gyffredin â rhyw fesur arall, megis yr hwn a ganlyn wrth Gyhydedd Hir,

Mwynhad mewn hedd
O wlad y wledd
Wiw fad a fedd i fod fyth.
Unodd ei enaid
Fwyn gerdd ber ddi baid,
A dirfawr ddeiliaid y fro ddilyth. GUTYN PERIS.

## XXIII.—AM GADWYN FER.

Cynwysa Cadwyn Fèr bedair braich, o wyth sill bob un, ac y maent yn cydodli bob yn ail braich, a phob braich yn cynghaneddu bob pedair sill, a rhaid i'r bedwaredd sill o'r drydedd fraich gydodli â'r bedwaredd sill o'r fraich gyntaf, a'r bedwaredd sill o'r fraich olaf gydodli â'r bedwaredd sill o'r ail fel hyn,

Gwymp odiaethol gamp y doethion,
A'r hynawsion wyr hen, oesol,
Gwau naturiol i gantorion
O hil Brython hylwybr, ethol. GRO. OWAIN.

Arall,

Iach y glaniodd uwch gelyniaeth
O dir alaeth daiarolion,
Hylaw diriodd i wladwriaeth
Yr uwchafiaeth wir a chyfion. GUTYN PERIS.

### XXIV.—AM DAWDDGYRCH CADWYNOG.

Cynwysa Tawddgyrch Cadwynog wyth braich o wyth sill bob un; y pedair braich gyntaf fel Cadwyn Fèr a'r pedair diweddaf fel Hupynt Hir, a rhaid i'r bedwaredd sill o'r bumed fraich fod o'r un odl a'r bedwaredd sill o'r bedwaredd fraich; fel y cysyllter y ddau ddarn yn nghyd; a rhaid i'r sill ddiweddaf o'r chweched braich gydodli â'r ddiweddaf o'r bedwaredd, fel hyn,

Sain ddireswm sy'n ddyryswch;
Gwn y gwyliwch ganau gwaelion;
Iaith a chwlwm eitha' chwiliwch;
O wyr! ceisiwch eiriau cyson.
Synwyr, cofiwch, yw'r prif harddwch;
A dymunwch wawdiau mwynion.
Byth nac ofnwch ddiystyrwch,
I'r byd cenwch, er bod cwynion. P. FARDD.

Yma y terfyna y Pedwar Mesur ar Ugain Cerdd Dafod, mal yr arferir hwynt yn Ngogledd Cymru, Nid ydyw yr awdwr yn bwriadu cynyg codi un math o ddadl, sef, pa un ai Llawdden, ai D. ab Edmwnt a ddiwygiodd y cynghaneddion; pa un a ddylid arfer pedwar ar ugain o fesurau, ynte mwy, neu lai, fyddai fwyaf priodol; ond yn unig dymuna gael rhyddid i ddywedyd ei olygiadau ei hun yn bersonawl ar y mesurau hyn. Nid ydyw efe heb wybod fod llawer o ymlyniad mewn amryw o'r beirdd wrth hen ddulliau a arferid gan ein hynafiaid; ond paham y meddylir nad oes angen diwygio pethau yn y gelfyddyd farddonawl yn gystal ag mewn rhyw gelfyddydau ereill? a phaham yr ydym ni yn rhwym, yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg i gadw yn gaeth at ddull ein hynafiaid, mwy nag y mae cenedloedd ereill yn gwneud hyny? Pa beth oedd yr iaith Saesonig dri chan mlynedd yn ol, i'r peth yw hi yn awr? Pa beth oedd ei barddoniaeth y pryd hwnw mewn cydmariaeth i'r peth y daeth yn nyddiau Milton, Thomson, Young, Pope, Watts, ac ereill? Pa beth oedd astronomyddiaeth cyn dyddiau Newton? Gwel pob dyn diduedd fod cyfnewidiadau dirfawr, er gwell, wedi dygwydd yn yr holl bethau a nodwyd, a pha fodd nad ellir

cyfnewid pethau er gwell yn ein mesurau barddonawl ninau? Paham y dysgwylir i ni, sydd wedi ein geni yn oes y Rhyddid fod tan rwymau llyfetheiriol y canrifoedd tywyll? Paham y rhaid i ni foddloni i garcharwisg y *Deuair Fyrion*, yr *Unodl Crwca*, y *Cyrch a Chwta*, *Clogyrnach*, y *Gyhydedd Hir*, *Gorchest y Beirdd*, *Cadwyn Fer*, a *Thawddgyrch Cadwynog*, &c.? Paham y rhaid i ni ddilyn y *Cymeriadau*, a chaethiwed llawer o'r cynghaneddion? Paham y rhaid i hyd y Gyhydedd derfynu yn ddeg sill mwy nag yn ddeuddeg? Paham na fyddai Englyn o fanau wythsill, yn annibynol ar y Gair Cyrch, mor gymeradwy a'r Englyn banau saith? Paham na fyddai Cywydd banau wythsill mor gymeradwy ag yw yr un presenol? Gwell fyddai penodi ar ddeuddeg mesur a fyddai yn deilwng, na chael pedwar ar ugain a chant o fesurau na fyddent yn deilwng ond o oes farbaraidd. Y mae y Cymry wedi myned yn gaethion o'u bodd, ac y maent wedi aros yn y caethiwed; ond ymddengys wrth agweddiad llawer o'n beirdd ieuainc enwog sydd yn codi, y rhai nad ydyw o un pwys yn eu golwg pa un a gant eu cyfrif *yn Feirdd wrth Fraint a Defod Beirdd ynys Prydain* ai peidio, eu bod hwy yn penderfynu arferu eu rhyddid gyda golwg ar y mesurau: anaml y gwelwn neb o honynt yn ymrwymo i gyfansoddi ar y Pedwar Mesur ar Ugain; ac ni chlywir neb yn bleidgar, i'r cwbl o'r mesurau, yn awr, oddigerth hurtiaid na adwaenant brydferthwch barddoniaeth; ac na foddlonir hwy â dim ond swn cydseiniaid yn ymfrwydro. Ychydig o'r llwyth hwn a geir yn Nghymru yn bresenol, wrth a welid ychydig o flynyddoedd yn ol. Yr hyn a wnai llawer o'r hen brydyddion gynt, wedi gwrandaw o honynt ar adroddiad, neu ddarlleniad Englyn, oedd cyfrif ei sillau, a chwilio y gynghanedd, ac os byddai y rhai'n yn ddifai, caent foddlonrwydd perffaith yn y gwaith; anaml y clywid neb o honynt yn galw meddylddrychau i gyfrif, gan eu cymeradwyo, na'u collfarnu: gadawent i'r rhai'n fyned heibio yn ddisylw; ond yr oedd cywreinrwydd y gynghanedd, cleciadau y cydseiniaid, a chaethder

llawer o'r mesurau yn rhoi gwledd iddynt. Ni fuasai yn ormod ganddynt dreulio noswaith gyfan i son am y pethau rhyfeddol hyn gyda'u cyfeillion: nid beio yr hen bobl yr ydis am fod yn fanwl yn hyn; ond synu yr ydis eu bod hwy mor hawdd eu boddloni; a bod y wisg farddonawl yn gwneud y tro yn eu golwg heb enaid na chorff yn y gwaith. Yr oedd rhai gynt yn cymeryd eu rhyddid, ac yn tori y rheolau pan weinyddai hyny ryw gyfleusdra iddynt; nid oedd hyn yn deg, oblegid os ydyw y rheolau caethion i gael eu goddef, yn rheolau barddoniaeth Gymreig, dylid eu cadw hyd y byddo modd; gwell fyddai dileu y mesurau mwyaf barbaraidd, a'r cynghaneddion mwyaf diles, neu eu gadael yn hollol, na chyfansoddi yn fongleraidd ac yn afreolaidd arnynt.

Yr oedd genym ddosbarth arall yn Nghymru o feirdd gwahanol i hyn, y rhai a allent farnu priodoldeb, neu anmhriodoldeb meddylddrychau, ac ni ollyngent ddim oddi dan eu dwylaw heb ei fod yn deilwng o'r enw barddoniaeth. Dymuna yr awdwr gael ei ddeall yn eglur nad oes ynddo un tuedd i gael dileu y gynghanedd pe byddai hyny yn ddichonadwy; ond yn unig dymuna am gael gwaith teilwng ar y gynghanedd, os byddir yn ei defnyddio, neu ei gadael yn llonydd yn gwbl oll; oblegid, mewn gwirionedd, y mae llawer o'r darnau *dynwared* barddoniaeth gynghaneddol a geir yn ein Cyhoeddiadau misol o bryd i bryd, yn ddigon i fagu casineb yn meddwl pob dyn synwyrol yn erbyn barddoniaeth, gan beri iddo feddwl mai sothach yw y cwbl a gynygir i sylw y byd.

---

## EMYNAU.

Y CANEUON rhydd mwyaf cyffredin yn bresenol yn mysg y Cymry, yw Emynau; ychydig a gyfansoddir o gerddi gan neb sydd yn alluog i wneud hyny; y mae yn wir fod ambell "gân ffyliaid" (Preg. vii. 5), i'w

chlywed ar hyd ein heolydd: a ffyliaid i'w gweled yn eu gwrando; a ffyliaid yn eu prynu; yr hyn a ddengys iselder golygiadau amryw o'r Cymry ar farddoniaeth; a'u hanwybodaeth am yr hyn sy'n deilwng o'r enw. Cyfansoddiad caneuon anfoesol, ffôl, ac annheilwng, yn nghyd a drwg fuchedd ac annuwioldeb rhai a ystyrid, gan y werinos, yn brydyddion, a fu yn achos yn ddiameu, i ddarostwng cymaint ar y ddawn santaidd yn ngolwg y byd. Dawn y cysegr yw y ddawn farddonawl, ac at wasanaeth dwyfol, rhinweddol, a moesol y dylid ei chyflwyno. Y mae hon wedi ei chynal yn yr Eglwys drwy yr oesau; fe sonir fod Iachawdwr y byd gyda'i ddysgyblion pan y canwyd Hymn, ar ol swperu, cyn gwynebu ar yr ystorm fawr (Math. xxvi. 30). Yr oedd Paul yn cynghori yr Eglwysi i addysgu a rhybuddio eu gilydd "Mewn Salmau, Hymnau, ac Odlau ysbrydol," (Col. iii. 16); a "Chanu a phyncio yn eu calonau i'r Arglwydd," (Eph. v. 19). Yr hyn a ddengys y dylai defnydd yr Emynau, neu y Salmau, fod yn ysbrydol, ac nid yn gnawdol, ac yn isel, fel y mae gormod o bethau a gyfansoddwyd dan enw Emynau, gan ddynion anwybodus yn mhethau Duw. Y mae y ffiloreg (*stuff*) mwyaf anweddus a chyfeiliornus wedi bod yn cael ei ganu mewn cynulleidfäoedd lawer gwaith. Dynion anwybodus yn cyfansoddi; dynion anwybodus yn rhoddi y cyfryw gyfansoddiadau allan; a dynion anwybodus yn eu canu. Y mae llawer o dro i dro, wedi cymeryd arnynt y gorchwyl o ddethol Emynau o waith amryw awduron, a'r detholwyr heb wybod dim eu hunain am farddoniaeth; a pha beth amgen yw hyn nâ'r dall yn tywys y dall. Nid ydyw fod dyn yn dduwinydd da, ac yn enwog mewn pethau ereill, yn ddigon i'w drwyddedu i ddethol Emynau; os bydd yn anwybodus am farddoniaeth; megis yr oedd amryw a dorasant y gwaith hwn iddynt eu hunain; y gwir yw, ni chymerodd yr un o'n prif-feirdd y gorchwyl hwn arno; gan hyny, nid rhyfedd fod y gwaith wedi cael ei gyflawni mor salw lawer tro. Bai mawr llawer o'n Hymnau yw

iselder ac anmhriodolder syniadau; anystwythder a chlogyrnwch; iaith fratiog a gwael; nid ydis yn golygu fod cymaint o angen am gynghaneddion cryfion a digoll mewn Emynau; ond gweddus i'r prifodlau fod yn gywir o ran sain, neu beidio son am danynt; pa beth sydd hacrach nâ murnaw (*murder*) yr iaith drwy ysgrifenu *llo'r* am lloer; *o'r* am oer; *po'n* am poen; *gwa'd* am gwaed; *tra'd* am traed, a myrdd o'r cyffelyb? Gwell fyddai cyfansoddi Emyn heb un cynygiad am sain, nac odl, o'i mewn, nag anafu llygad y darllenydd â'r fath wrthuni. Hefyd y mae llawer o gyfansoddwyr Emynau yn ddiofal dros ben gyda'r aceniaeth; ac felly yn cyfansoddi pethau nad oes fodd, o'r braidd, i neb eu darllen, na'u canu, ar eu hol. Y mae y mesurau y cyfansoddir Emynau arnynt mor luosog, fel na ddeuir i ben yma, a'u nodi bob yn un; ond dodir rhyw nifer o'r rhai mwyaf hysbys ger bron y darllenydd. Dechreuwn gyda'r mesur 8 a 6, fel y gelwir ef:—

Mae dyddiau gruddfan imi'n hir,
Caethiwed Babel fawr;
O, na chawn deimlo'r Jubil fwyn,
Yn agor dorau'r wawr!

Cynwys y linell gyntaf o'r penill uchod wyth sill; a'r ail chwe' sill; ac y mae yr acen yn disgyn yn naturiol ar y sillau canlynol;—sef, y sillau sydd wedi ei dodi mewn llythyrenau Italaidd,

Mae *dydd*-iau *grudd*-fan *i*-mi'n *hir*,
Caeth-*iw*-ed *Ba*-bel *fawr*;—

byddai yr aceniad a'r darlleniad yn wahanol iawn pe dodid y linell fel y canlyn, er na byddai ynddi ond yr un nifer o sillau, ac er y byddai y brifodl yn terfynu mewn un sill fel o'r blaen;

Mae *am*-ser-*au* grudd-*fan*-u'n *hir*:

heb ei hacenu yn y dull uchod darllenai fel hyn,

Mae amserau gruddfanu'n hir;

ac yna ni feddyliai neb ei bod wedi ei bwriadu yn llinell farddonawl; a gellid cysylltu y llall â hi fel y canlyn:

**Mae amserau gruddfanu'n hir**
**Y caethiwed trwm mawr.**

**Y *caeth*-iw-*ed* trwm *mawr*.**

Hyderir y gwasanaetha yr eglurhad uchod gyda llinellau ereill, fel na byddo angen ond yn unig ddodi y llythyrenau *Italaidd* er dangos y gwahaniaeth: ond i'r darllenydd sylwi, gwel fod yr acenion i fod ar yr ail sill yn y llinellau cyntaf, sef, *dydd* yr hwn sydd ran o *dydd-iau;* a bob yn ail sill i ddiwedd y llinell, sef, ar *grudd*, *i*, a *hir*.

**Mae'r gwaed a redodd ar y groes,**
**O oes i oes i'w gofio;**
**Rhy fyr fydd tragwyddoldeb llawn,**
**I ddyweud yn iawn am dano.**

Mae'r acenion ar y penill hwn fel y canlyn:—

**Mae'r *gwaed* a *red*-odd *ar* y *groes***
**O *oes* i *oes* i'w *gof*-io**
**Rhy *fyr* fydd *tra*-gwydd-*ol*-deb *llawn***
**I *ddyweud* yn *iawn* am *dan*-o.**

Wele yn canlyn linellau o'r un hyd a'r gyntâf a'r drydedd o'r penill uchod; ond y mae yr acen yn ddrwg dros ben ynddynt:

**Yr holl nefoedd yn dra hysbys:**
**Neu fel un o adar y tô:—**

Os dodir yr acenion ar y sillau priodol, darllenir hwy fel hyn:

**Yr *holl* nef-*oedd* yn *dra* hys-*bys*:**
**Neu *fel* un *o* ad-*ar* y *tô*:**

**Yr holl nefoedd yn dra hysbys,**
**A ddengys ei gyfiawnedd.**

**Neu fel un *o* adar y tô**
**A fai yn gwylio'i fywyd.**

Gydag ychydig o wellâd gallesid eu cael yn fwy llithrig, fel y canlyn:—

**Yr *holl* nef *fawr*, y *ffordd* i'w *lŷs*,**
**A ddengys ei gyfiawnedd:**

Buasai hyn yn cyfnewid ychydig ar y synwyr, y mae yn ddiau; ond buasai yn llawer mwy ystwyth.

Yr *wyf* fi *fel* ad-*er*-yn *to*
A fai yn gwylio'i fywyd.

Y nesaf y sylwn arno yw yr wyth ac wyth; sef, penill yn cynwys pedair llinell, o wyth sill bob un:—

My-*fyr*-io *am* y *nef*-ol *fro*
Sy'n *dwyn* dy-*ddan*-wch *law*-er *tro*;
Beth *am* bob *mun*-ud *o* fwyn-*had*
Yn *oes*-oedd *mewn* tra-*gwydd*-ol *wlad*?

Nid ydyw yr acenion yn gywir yn y llinellau canlynol:—

"Henffych i enw'r Iesu gwiw
Syrthied o'i flaen angylion Duw."

Dyma fel y darllenant wedi eu hacenu yn rheolaidd,

Hen-*ffych* i enw'r Iesu gwiw
Syrth-*ied* o'i flaen angylion Duw.
Plyg-*wch* yn isel wrth ei draed;

oblegid dylai yr acen fod ar *ffych*, *ied*, ac *wch*, ond byddai y darlleniad yn glogyrnaidd iawn felly.

Y nesaf a grybwyllwn yw y naw ac wyth; sef, penill wyth llinell o naw sill ac wyth sill bob yn ail, fel hyn,

Yn *Si*-on mae *cyf*-raith ra-*gor*-ol
Gan *Dduw* yno'n *rhe*-ol fe'i *rhoed*,
Un *wedd*-us, dda-*ion*-us i *ddyn*-ion,
Ni *fu* deddf mor *un*-ion er-*ioed*;
Dim *mwy*, na dim *llai* na chyf-*iawn*-der
Ni *of* yn ni *chym*-er y-*chwaith*;
Heb *fod* gyda'r *Ies*-u mewn *un*-deb
Ni *dder*-byn ein *gwyn*-eb na'n *gwaith*.

Yn nesaf crybwyllwn am y mesur saith a chwech sef, saith sill yn y linell gyntaf, a chwech yn yr ail, fel hyn:—

Ang-*yl*-ion *doent* yn *gys*-on
Ri-*fed*-i *gwlith* y *wawr*,
Rhoent *eu* cor-*on*-au *eur*-aidd
O *flaen* y *fainc* i *lawr*;
Dad-*sein*-ient *a'u* tel-*yn*-au,
Yn *nghyd* a'r *saint* yn *un*,
Byth, *byth* ni *chan*-ant *ddig*-on,
Am *Dduw*-dod *yn* y *dyn*.

Yn nesaf crybwyllwn am y mesur wyth a saith, sef, wyth sill yn y linell gyntaf, a saith yn yr ail, &c., megis,

" *O* llef-*ar*-a *add*-fwyn *Ies*-u
*Mae* dy *eir*-iau *fel* y *gwin*,
*Oll* o'm *mewn* yn *dwyn* tang-*nef*-edd,
*Ag* sydd *o* an-*feid*-rol *rin*;
*Mae* holl *leis*-iau'r *gre* ad-*ig*-aeth,
*Holl* dden-*iad*-au *onawd* a *byd*,
*Wrth* dy *lais* hyf-*ryd*-af *taw*-el,
*Yn* dys-*tew*-i,—*ant* yn *fud*.

Mae *dydd*iau *grudd*fan *i* mi'n *hir*.

Y mae yr acenion ar yr ail sill, y bedwaredd, y chweched a'r wythfed yn hon.

Y mae ar yr un sillau yn y llinellau hyn hefyd:

Mae'r *gwaed* a *red*odd *ar* y *groes*;

M*yfyr*io *am* y *nefol fro*:

a chan mai fel yna y mae i ddisgyn, dyna yr achos fod y llinellau canlynol yn feuis; sef,

Henffych i enw'r Iesu gwiw,
Syrthied o'i flaen angylion Duw,
Plygwch yn isel wrth ei draed,

oblegid rheol gyffredin yr Iaith Gymreig yw i'r acen fod ar y sill olaf ond un o bob gair lluaws-sill, oddieithr mewn geiriau fel cyff*roi*, nes*hau*, lles*had*, &c., &c.; fel y canlyn buasai y llinellau uchod yn ddifeius,

Rhowch *glod* i *enw*'r *Ies*u *gwiw*,
Nes*ewch* o'i *flaen* ang*yl*ion *Duw*;
Yn *is*el *plyg*wch *wrth* ei *draed*.

Y mae mesur arall ag wyth sill yn mhob llinell o hono, ond fod gair y brifodl, hyny yw, y gair diweddaf yn mhob llinell, yn cynwys mwy nag un sill: megis,

" *Mel*ys *yd*yw *y* my*fyr*dod
*Am* ddyn*ol*iaeth *Crist* a'i *Dduw*dod;
*Mel*ys *cof*io *am* ei *gar*iad,
*Mel*ys *cael* o *hono* *brof*iad."

Bydd sylwi ar y pethau a nodwyd yn gymorth i'r cyfansoddwr ieuanc; y neb a chwenycho gael ychwaneg o sylwadau ar hyn, gweled Cyfrinach y Beirdd; a'r Gramadeg Cerddorawl, gan I. Glan Alarch.

## Y BRYDDEST NEU GAN RYDD.

Y mae *Dyrif*, neu Gân Rydd, yn mysg y Cymry, er cyn côf, a cheir yn ngweithion yr hen feirdd lawer cyfansoddiad o'r natur yma; ond gofalent hwy am roddi cynghaneddion ynddynt; eithr y mae pethau a elwir *Pryddestau*, yn Nghymru yn bresenol, yn hollol wahanol i'r caniadau hyny; oblegid yn un peth, cyfansoddir rhai o honynt heb un odl, ac ereill, sydd yn odli, heb un gynghanedd; bu gwrthwynebiad mawr i hyn ar y cyntaf, gan *addolwyr* y mesurau caethion; ond y maent yn awr yn fwy goddefol. Y mae yn ddiddadl pe dilynid y dull hwn, yn fwy cyffredin, y gwnelai les mawr i brydyddiaeth; oblegid, yna, rhaid fyddai i'r beirdd roddi meddylddrychau yn eu cyfansoddiadau; ac nid gollwng rhimynau gwaelion, a gweinion i'r byd, dan enw Englynion, Cywyddau, ac Awdlau, heb fod ynddynt fwy o ysbryd barddoniaeth nag sydd ar gopa y Wyddfa, neu Gadair Idris. Rhaid i waith fod yn dra barddonol pan y gafaela yn y teimlad, ag yntau yn ymddifad hollol o addurniadau a chelfyddgarwch y gynghanedd. *Meddwl*, mewn gwirionedd, yw barddoniaeth, ac nid yw y pethau neillduol sydd yn ngwisg pob iaith, ond pethau a gollir drwy gyfieithad. Nid oes dim modd cyfieithu y tlysni a'r addurn perthynol i iaith neu gynghanedd: ac os na fydd y peth a gyfieithir yn gryf iawn, yn wreiddiol, y mae yn sicr o fod yn wanllyd mewn iaith estronawl. Pe byddid yn cymeryd trafferth i gyfansoddi dernyn prydyddol, a chadw at holl gywreinrwydd a manylrwydd penaf cynghanedd a mesur; ïe, pe cyfansoddid yn Ngorchest y Beirdd, collid y wisg yn llwyr yn y cyfieithad, ac ni fyddai i'w ddodi gerbron yr estron, ond meddylddrych noeth. Pa mor wael, gan hyny, yr ymddangosai llawer o gyfansoddiadau Cymru mewn rhyw iaith arall! Rhai nad oes ynddynt ond y tinc (*gingle*) yn unig i'n clustiau ni, yn yr iaith yr ysgrifenwyd hwynt. Y mae gweithion o'r natur yma mor luosog, ysywaeth, yn y

Gymraeg, fel nad yw o un dyben dechreu eu nodi; ond os ydyw y darllenydd mewn petruster yn eu cylch, ac yn methu a gwybod pa rai ydynt, edryched yn fanwl yn ngweithion pwy y mae mwyaf o eiriau llanw, yn mha le y camarferir geiriau,—a phwy sydd yn beichio eu llinellau yn fwyaf âg ansoddeiriau afreidiol; gan ymfalchio yn fawr yn nghoegdrwsiad *bon y gler*. Chwilied pwy yw y rhai hyny sy'n ymhyfrydu mewn mwy o gywreingarwch *cydseiniadol* nag a ofynir gan y rheolau yn gyffredin. Y mae llawer o'r rhywogaeth hon yn hoff iawn o gynghaneddu â'r brifodlau anhawdd; cyffelyb i *gadr*, *gogr*, *medr*, *hagr*, *egr*, *cabl*, ac *esgawb*, &c. &c. &c. a rhyfedd y fath gywreindeb a ganfyddant yn eu cymalau; byddant yn eu hadrodd gyda'r fath bwys a phe byddent yn brif farddoniaeth yr oes!! Ond er y rhydd y Bryddest lawer o fantais i gyfansoddwr; eto, nid ydyw hithau, mwy na'r mesurau cynghaneddol, ddim heb ei llygrwyr, a'i dynwaredwyr beirdd. Y mae llawer iawn o sothach, yn y ffurf hon, wedi ymddangos yn ddiweddar; Blackwell a Gwenffrwd, yn ddiameu, a bia'r flaenoriaeth o ddigon gyda'r dull yma hyd yn hyn:* y maent hwy yn benceirdd, ond nid yw y rhan fwyaf o'u dilynwyr wedi prin gyraedd gradd dysgyblion yspas† eto. Nid ydynt yn codi ond ychydig iawn. Y mae gormod o unffurfiaeth yn rhedeg drwy y rhan fwyaf o'r caneuon hyn; y maent yn son yn rhy aml am y *cymyl*, yr *edn*, y *môr*, y *gwynt* y *mynydd*, y *graig*, y *niwl*, a'r *aber*, &c. pan na fydd hyny yn dàl un math o berthynas â'u testunau. Yr oedd gan Milton ei *Paradise Regained* yn gystal a'i *Paradise Lost;* yr oedd gan Pope ei *Essay on Criticism*, *Essay on Man*, a'r *Dunciad*, yn gystal a'r *Messiah:* yr oedd gan Thomson ei *Spring*, *Summer*, a'i *Autumn*, yn gystal a'i *Winter:* ond ni fedd llawer o'n pryddestwyr ni ond yr un peth o hyd fel caniad y gôg. Cyfansoddi

* Ysgrifenwyd y darn ymadrodd hwn yn 1839:

† That is in the act of passing.

yn dywyll, clogyrnaidd, ac yn ddideimladol, a gara lluaws mawr; ac y mae yn beth i'w ryfeddu drwy ba swyn y maent yn cael hyfrydwch mewn gweithion mor sych, ac mor farw. Y mae yn hyfryd i ni weled fod rhai yn rhagori yn y dull hwn.

Cael barddoniaeth dda yw dymuniad pob un a garant farddoniaeth, ac nid ydynt yn ymdrafferthu cymaint yn nghylch y wisg. Ac yn hytrach na chollfarnu y Bryddest, na'r Awdl Gynghaneddol, anoger y beirdd perthynol i'r ddau ddosbarth hyn i lafurio am syniadau addas. Y mae y rhai a gollfarnant y gynghanedd, gan ddywedyd, nad oes dim modd cyfansoddi dim yn synwyrol arni, yn myned yn rhy bell; oblegid, y mae genym ddigon o brofion i'r gwrthwyneb: ac y mae collfarnwyr y Bryddest hefyd yn rhy lawdrwm yn aml; ceisiant ei gosod allan fel peth ffol a phlentynaidd; ond prin y dywed yr un o honynt mai awdwyr ffol oedd Milton, Young, Pope, Cowper, a Byron, &c. ychwaith, er mor fawr yw y rhagfarn yn erbyn eu dull hwy o farddoni. Cynyg canmawl yr awdwyr uchod fyddai yn debyg i geisio paentio y lili, neu roi golchiad ar aur pur! Pe deallid hwy yn well gan ein beirdd, yn gyffredin, efelychid hwy yn fwy.

Y mae caniadau llawer o'n pryddestwyr yn ddrwg dros ben yn eu dysgyniadau; y maent yn glogyrnaidd ac yn afrywiog; nid ydynt fel pe byddent wedi talu un math o sylw i acenyddiaeth, nac yn gofalu dim am y mesur: hawdd fyddai dynodi gwallau anafus o'r natur yma mewn amryw o Bryddestau buddugol. Os byddir yn cyfansoddi yn ddiodl, neu yn ddiblethiadau, gydag odl, y mae yr esgusion yn llai fyth, Gormod o ryddid yw dystrywio pob rheol, ac i bawb gymeryd ei reol ei hun. Os addefwn fod rheol yn angenrheidiol, dilyner y rheol, neu dawer a son am dani. Nid yw y dull hwn mor newydd bellach yn Nghymru. Y mae genym amryw engraffau o'r Bryddest y cymerwyd gofal wrth eu cyfansoddi. Gwnai darllen Pope a Milton les dirfawr i hoffwr y Bryddest er eu dwyn i gynefino mwy â'i

rheolau, ac â'i llithrigrwydd. Ceir amryw gyfarwyddiadau yn *Murray* a *Lennie's Grammars* hefyd, am natur y mesurau Seisnig; a gall y rheolau mewn perthynas i gyfansoddi Emynau, weinyddu gyda golwg ar iawn acenyddiaeth yn hyn hefyd.

---

## GWALLAU Y SYRTHIR IDDYNT.

### I.—MEWN FFUGYRAU YMADRODD.

Y mae amryw o ffugyrau ymadrodd (*figures*) yn cael cam dirfawr drwy yr arferiad anmhriodol a wneir o honynt; nodwn yma i sylwi arnynt yn fwyaf neillduol y *Gydmariaeth*, *Gormoddiaeth*, a *Graddeb*,

Y mae rhagor rhwng Cydmariaeth (*Similé*), a Thraws-ymddwyn (*Metaphor*). Dengys Cydmariaeth y cyffelybrwydd sy rhwng y naill wrthddrych a'r llall; megis,

> Ef fydd *fel* pren plan ar làn dôl.

Traws-ymddwyn sy fath o gydmariaeth heb yr arwydd gydmariaethol *fel*, a *megis*, &c., fel pe dywedid,

> Ef fydd yn bren ar làn dôl.
> Ef fydd *fel* colofn,

sy Gydmariaeth;

> Ef fydd *yn* golofn,

sy Draws-ymddwyn.

Arferai un *bren* yn Gydmariaeth o brudd-der, yr hyn sydd eithaf anmhriodol; megis,

> "Och brudded wyf fel pren."

Peth marw yw pren, ac nid peth *prudd*, na *di-brudd*,

Galwai un arall mewn modd Traws-ymddwynol, y bedd yn dŷ, a gwaliau pridd iddo; ac yn *wely pren*; megis,

> "I dŷ oer mewn daearen,
> *Gwaliau* pridd a gwely pren."

Buasai naill ai *ty* ai *gwely* yn ddigon, ar yr un pryd; y mae yn anhawdd gwybod beth a feddylir wrth y '*gwaliau pridd;*' nid ydyw y pridd yn un arwydd o gadernid, na diogelwch; ond gŵyr pawb mai lle diogel yw y bedd; pa fodd yr aeth y *ty* yn *wely* hefyd, ac yn '*wely pren?*' Os am yr arch (*coffin*) y meddylid, y mae hono yn debycach i amwisg nag i wely.

Dylai Cydmariaeth bob amser fod yn naturiol; ac yn hysbys i'r darllenwyr. Cydmariaeth eithaf anmhriodol fyddai dyweud fod cleddyf, fel paladr melin; neu fod gwaewffon, fel coeden wedi ei thynu o'r gwraidd. Y mae rhai mor ffol a hyn wedi eu harferu gan ddynion anwybodus.

Gormoddiaeth (*Hyperbole*) sy ffugyr yn dangos gwrthddrychau yn fwy neu yn llai, yn well neu yn waeth nag y byddont mewn gwirionedd; Gormoddiaeth a arferir gan Ddafydd pan y dywed am Saul a Jonathan,

Cynt oeddynt nâ'r eryrod, a chryfach nâ'r llewod.—2 SAM. i. 23.

Dylid arfer Gormoddiaeth mewn darluniadau cyffredin gyda gofal mawr. Os byddir yn darlunio daiargryn, neu ystorm, neu os cludir ein dychymyg i ganol maes y frwydr, gellir goddef Gormoddiaeth gyda boddhad; ond pe'r elid i ddarlunio gofid menyw, drwy ddyweud ei bod hi "yn wylo cynifer o ddagrau, ag a allent pe uesglid hwy at eu gilydd ddiffodd *Ætna*, neu *Vesuvius*," nid ellid llai nâ ffieiddio y fath Ormoddiaeth wyllt ac afresymol. Y mae yn anhawdd tynu y llinell derfynol i'r ffugyr hwn drwy unrhyw reol benodol. Os bydd dyn yn feddianol ar synwyr cyffredin, ac ychydig o chwaeth, daw i wybod yn mha le i osod y terfyn.

Graddeb yw codi holl amgylchiadau gwrthddrych neu weithred yn uwch, yr hon a ddymunwn ei gosod mewn goleuni cryfach; megis, "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf?"—(Rhuf. viii. 35.) Dylid bod yn ofalus am

fod y pethau a chwanegir y naill ar ol y llall, yn ychwanegu ac nid yn lleihau. Y mae Graddeb yr Apostol yn briodol iawn; y mae efe yn dechreu gyda *gorthrymder*, ac yn dringo o radd i radd, neu o ris i ris, nes y mae efe yn dyfod at y *cleddyf*; pe rhoddasid y *cleddyf* yn y canol ni fuasai y ffugyr mor effeithiol; gall dyn fyw dan *orthrymder*, *ing*, ac *erledigaeth;* a gall oddef *newyn* a *noethni* i raddau, ond pan dynir y *cleddyf* allan i'w drywanu, y mae angau sicr a buan yn canlyn hwnw.

Yn y llinellau canlynol gwelir y Raddeb (*climax*) yn cael ei chymysgu; ac y mae yn diweddu yn wan:

"Pe bai *llew* dudew'n dadwrdd,
Garw ei ffurf, ar gŵr y ffordd,
Er *dwl ofn* i'w ardal werdd,
Trwy y boen tröai y bardd,
I'r hen fad fwynwlad fau
Tynwn yn ngwrth y *tonau.*
* * * *

Nid *gwynt*, er helynt oer hell
Diau na *noswaith dywell,*
Nid *gwlaw* blin yn erwin na
Rhwyg oerwynt *rhew* ac *eira,*
Ac nid *mellt* uwch pellt y pau
Uthr enyn a *tharanau.*

Ni ddeil hen *dd*——*l* ei hunan—mo honof,
Mae hwn yn rhy druan,
*Daiar* a'i thwrf, *dwr* a *thân*
Llawn agwrdd oll yn egwan.
Nid *bâr*, *gwyr anwar* gerwinol,—nid *arf,*
Nid *oerfel* dinystriol,
Ni fedd anian fodd unol,
Tan y nef a'm tynai'n ol."

Y mae graddeb y bardd yn rhedeg fel y canlyn; sef, *llew*, *dwl ofn*, *tonau*, *gwynt*, *nosawith dywell*, *gwlaw*, *rhew* ac *eira*, *mellt* a *tharanau*, *diabolos*, *daiar*, *dwr* a *thân*, *bâr*, *gwyr anwar*, *arf*, ac *oerfel*.

Y mae dynion wedi gallu teithio ar nosweithiau tywyll, a thrwy wynt a gwlaw, rhew ac eira; a chawsant eu diogelu hefyd o'r tonau, ac o'r 'stormydd o fellt a tharanau, a gwaredwyd rhai o grafanc y llew: y

pethau mwyaf dychrynllyd yn y raddeb, yn ddiameu, yw y llew, y tonau, y mellt, a *diabolos*; ond wedi son am y *llew*, â'r bardd i son am *ofn;* ac wedi son am y *tonau*, â i son am y *gwynt*, a *noswaith dywell*, *gwlaw*, a *rhew* ac *eira;* ac wedi son am y *mellt*, a *diabolos*, â i son am *ddwr* ac *oerfel*, &c., a *bâr*, hyny ydyw, digofaint *gwyr anwar*, sef, gwyr gwylltion, annof; y mae hyn yn gwneud y raddeb yn gymysglyd, ac yn wanllyd; dylasai ddechreu gyda'r peth oedd ef yn ofni leiaf o'r pethau a ddynodwyd; ac ychwanegu at hwnw, o radd i radd, nes cyraedd pen uchaf y gradd-ddring *(climax)*, ac nid disgyn yn ei ol.: pa beth bynag oedd ei olygiadau ar y pethau cyntaf, yn y raddeb hon, gwyr pawb fod *diabolos* yn fwy ofnadwy na digofaint *dyn*, y mae dyfod at ddigofaint *dyn*, *dwr*, ac *oerfel*, &c. wedi rhoddi her i'r *ysbryd drwg* yn lleihau ei grym, ac o ganlyniad y mae yn diweddu yn llipa.

### II.—CAMARFERIAD GEIRIAU.

Y MAE yn amlwg i bob un mai cyfryngau yw geiriau i drosglwyddo meddylddrychau; a dysgwylir i bob gair a arferir gynwys rhyw feddwl, neu ran o feddwl; hyny ydyw, dysgwylir fod ei osodiad mewn brawddeg, o iaith rydd, neu mewn llinell farddonawl yn ateb rhyw ddyben; ac onidê ni fyddai yn waeth ini gymeryd geiriau o eirlyfr a'u pentyru ar eu gilydd heb reol na threfn. Anaml y gwelir neb yn arferu geiriau mewn rhyddiaith heb fod rhyw ystyr iddynt, yn y lleoedd yr arferir hwynt; ac anfynch y gwelir un awdwr galluog yn arferu mwy o eiriau nag fyddo yn angenrheidiol i amlygu ei feddwl: ac y mae ei ddewisiad o honynt yn ddoeth; ond y mae barddoniaeth Cymru wedi cael cam dirfawr yn yr ystyr hyn; dynion wedi ffurfio geiriau i ateb eu dyben hwy, a'r rhei'ny, lawer o honynt, yn hollol ddiystyr, ac anmhriodol yn y cysylltiadau yr arferir hwynt: a thrwy fod barddoniaeth, wedi bod yn lled isel yn ngolwg y dysgedig, hyd adgyfodiad yr Eisteddfodau diweddar, cawsant lonydd i'w harferu:

nid aeth neb i drafferth i ddynoethi y twyll. Yr oedd y werinos yn eithaf anwybodus am iaith; ac am y rheolau barddonawl; a phan gyfarfyddent hwy â geiriau nad allent eu deall, na gweled eu priodoldeb, tybient mai eu diffyg dealltwriaeth hwy yn y dirgelwch perthynol i farddoniaeth oedd yr achos o hyny; fod y geiriau, yn sicr, yn ateb dyben eu gosodiad; a phe buasent hwythau wedi eu gollwng i fewn i gyfrinach yr awen, ac wedi eu dwyn i amgyffred y dirgelwch rhyfeddol a berthynai iddi, y gwelsent yr holl ragoroldeb ar un waith. Gellir rhanu camarferiad geiriau i ddau ddosbarth; sef, 1. Yr arferiad o gymeryd gair ansathredig neu ddau mewn llinell er cyraedd cynghanedd. 2. Yr arferiad o gymeryd amryw eiriau afreidiol mewn Englyn, neu benill, er cyraedd meddylddrych: ond,

1. Sylwn ar yr arferiad o gymeryd gair neu ddau ansathredig mewn llinell er cyraedd cynghanedd. Y mae mwy yn Nghymru o seiri cynghaneddion, nag sydd o feirdd. Byddai yn hawdd cyfeirio y darllenydd at amryw o weithion, nad oedd gan yr awdwyr ond cynghanedd fel y prif beth i gyfeirio ato ynddynt. Gellir gweled, yn amlwg, yn wyneb cyfansoddiadau llaweroedd nad oedd ganddynt yr un cynllun i fyned wrtho, ond a wnaed ganddynt ar hyd y ffordd, wrth gyfansoddi; oblegid y mae eu gweithion mor ddigysylltiad, mor gymysglyd, ac mor annhrefnus: os caent ambell gynghanedd dlws boddlonent ar hyny. Yn mhlith y geiriau a ddyfeiswyd, ac a ffurfiwyd i gyrhaedd cynghanedd, gellir nodi y rhai canlynol: byddai llawer o honynt yn ddigon priodol, mewn lleoedd priodol, ond pan arferir hwynt yn unig er cael cynghanedd y maent yn hollol wrthun: megis,

Bywfaeth, bywfad, bywlon, bywner, bywnerth, bywrwysg; caindeg, cainlwys, cainferth, cainfyg, cainwiw, croewfwyn, croew-wen, croewfawr, croewlwys, croewcron, croewfyg, cudeg; dewrfad, dwysfad, dewrfyg, dewr wiw, dewrlon; gwiwfaeth, gwiwfad, gwirfad, gwiwfyg,

gwirddwys, gwiwddwys, gwiwner, gwiwnerth, gwiwferth, gwiwgain, gwiwgu, glwysgu, glanber, gloewfyg, glanfyd; hoewfad, hoewfawr, hoewferth, hoewfyg, hoewlwys, hoewfrwd, hoewdeg, hoewlon, hoewlys, hoewgain, hoewrin, hoewber, hoewgoeth, hoewgall, hoewbur, hoewdlws, hoewfraint, hoewgerth; lwysfad, a fadlwys, lwysgain a gainlwys, lwysfawr a fawrlwys, lwyswiw a wiwlwys, lwyslon a lonlwys, lonfad a fadlon, lonwiw a wiwlon, lonfwyn a fwynlon, lonferth a ferthlon; mwynfad, mwynlon, mwynferth mwynfaeth, mwynfawr, mwynwiw; rwyddfad, ryddlwys, ryddlon, radfwyn; tirfwyn, tirfad; sywfawr, sywdeg, sywfyg, sywner, sywnerth; a gelwir am wasanaeth y geiriau *hoew, gwiw, gloew, croew, mad, lon, lwys, fflur, fflwch, ter, &c.*, ar eu penau eu hunain, bron yn ddiddiwedd. Y mae y rhai hyn yn eiriau da pan fydd eu heisiau; ond y mae eu harfer hwy yn unigol, neu yn gysylltedig, â geiriau ereill, pan na bydd un mymryn o synwyr ynddynt, yn brawf, naill ai o ddiffyg meddwl, neu ddiffyg medr i gyfleu y meddwl, neu o ddiffyg ymdrech: y mae yn boenus gweled, agos, haner barddoniaeth yr oes hon wedi ei gorlwytho â sothach o'r fath. Ni wiw haeru mai caethder y gynghanedd yw yr achos, oblegid nid ydyw yn rhy gaeth* i ddynion o alluoedd i fedru ei harferu. Noder yn ngweithion Iolo Morganwg, D. Ddu, Eryri, Dewi Wyn, R. ab Gwilym, Pedr Fardd, Gwallter Mechain, neu Gutyn Peris, eiriau fel y cyfryw a grybwyllwyd yn hollol ddieisiau.

Nid ydys yn enwi yr awdwyr uchod am yr ystyrir hwynt yn *oraclau*, nac am fod pob peth a gyfansoddasant hwy, mwy nag ereill, yn berffaith ddigoll; ond fe'u henwir fel rhai sydd wedi cyraedd *perffeithrwydd* mewn cydmariaeth i lawer ereill a ystyrient eu hunain, ac a ystyrir gan ereill, yn feirdd; ïe, y rhai ag ydynt wedi eu hynodi fel campwyr mewn Eisteddfodau, ac eto, eu gweithion yn llawn o eiriau gweiniaid fel y nodwyd; y rhai, yn ddiameu, fyddant yn warth i'r oes.

* Meddylir yn awr am y Cynghaneddion Sain, Traws, a'r Groes, &c.

wedi y tyner y mwgwd oddiar lygaid dynion. Pe difynem rai o'r geiriau cyfansawdd a ddynodwyd, y fath wrthuni a ddeuai i'r golwg.

Rhyfedd y fath alwad y mae *gwiw* a *hoew* yn gael, yn anad dim geiriau ereill; y mae pob peth yn *wiw*, neu, yn hoew; daioni hoew, (*hoewfad*); mawrder hoew, (hoewfawr); brwdaniaeth hoew, (hoewfrwd); llys hoew, (hoewlys); rhinwedd hoew, (hoewrin); pereidd-dra hoew, (hoewber); callineb hoew, (hoewgall); purdeb hoew, (hoewbur); braint hoew, (hoewfraint); dychryn hoew, (hoewgerth)!!! Y mae gweled y fath ddefnydd yn cael ei wneud o'r gair *hoew*, yn ddigon a pheri i ni ymofyn yn fanwl pa beth yw ei ystyr; rhag ofn fod yn ei gymalau ryw ddirgelwch na feddyliasom erioed am dano. Ystyr y gair *hoew* yw bywiog, heinyf, &c. Dyma fel y dywed y Dr. O. Puw. Hoew, *alert, sprightly; lively; spruce.* Ond anfynych y mae *hoew* yn cael dangos ei wyneb mewn iaith rydd, os na fyddir yn son am ddyn, neu ryw greadur bywiog: ac y mae, yn ddiamheuol, na chyfarfyddasid âg ef mor aml mewn prydyddiaeth, oni buasai ei fod yn lled wasanaethol i'r gynghanedd. Yn nghyfrif llawer, geiriau yn clecian yn eu gilydd, fel y canlyn, yw barddoniaeth:

Hawddgar, heddgu; ymgais, amgen; gobaith gwiwbur; gofyn gwiwfad; fadlon sefydliad; gamlas morgymlawdd; ystlen tymhestloedd; englyn angladd; crychias crochan; treiglo trwy wiwglod; edlym odlau; fflur fflwch; celfydd coelfawr; ergyd wyrgam; ceinmyg canmawl; hystyng hawsder; siolfad iselfawr; Glyndwr glandeg; dagoch degaidd. Y mae yn well darllen darn o brydyddiaeth i'r mwyaf anwybodus am y cleciadau cydseiniol, nag i grachfardd fyddo wedi ei lygad-dynu â swn; oblegid ni fydd gan yr anwybodus am y cleciadau, ond yn unig gwrando ar y syniadau; eithr ni chymer y llall un sylw o'r meddyliau pe byddent yn deilwng o Milton, Young, neu Pope, os bydd digon o swn llifeiriant y cydseiniaid yn bwrlymu.

2. Arferir llawer o eiriau afreidiol weithiau er cyr-

aedd meddylddrych; ac ysywaeth, rhai o'n beirdd goreu sydd wedi bod yn euog o hyn megis y gwelir yn y darnau a ganlyn:—

"Fe naid uchenaid a chwŷnion—aethus,
O eitha' fy nghalon,
Rhyfeddais, *mewn rhyw foddion*,
*Noeth arw hynt*, na thorai hon."

Y meddylddrych yw hwn,

Fe naid uchenaid a chwynion—aethus,
O eitha' fy nghalon,
Rhyfeddais ———————
——— — na thorai hon.

Gan hyny, nid ydyw "*mewn rhyw foddion*" a "*noeth arw hynt*," ond llanw.

"Nis caed yd, yn oes co' dyn,
*Mawrdda bwys*, mor ddibeiswyn."

Nis caed yd, yn oes co' dyn,
———————mor ddibeiswyn.

"Och o'i ddwyn! *call addwyn llwyr*,
Morus enwog mawr synwyr."

Och o'i ddwyn!———————
Morus enwog mawr synwyr.

"Adroddiad mor berffaith drwyddo—da oll
Nad ellir rhoi ato,
Na dwyn chwaith, *glanwaith ei glo*,
*Urdd ei werth*, air oddiwrtho."

Na dwyn chwaith,———————
———————air oddiwrtho

*Glanwaith ei glo, urdd ei werth*, sy lanw.

"Tair Ann i'r un man ran meth—yr einioes
Arweinwyd *yn gydbleth*;
A'r tair *Ann o'r un plan pleth*,
Ydyw Ann a'i dwy eneth."

Tair Ann i'r un man ran meth—yr einioes
Arweinwyd ;———————————
A'r tair ———————————
Ydyw, Ann, a'i dwy eneth.

"*Yn gydbleth o'r un plan pleth*," &c. sy lanw.

"Mae clustiau rhai, *mal sai'r son*,
Gwrandawyr yn grwyn-dewion."

Mae clustiau rhai ——————
Gwrandawyr yn grwyn dewion.

"Epiphanes *gormes gerth,*
*Hyll dynfa, mewn llid anferth,*
Deugain mil, *dig iawn y modd*
*Di ludd,* o'r genedl laddodd."

Epiphanes ——————
——————
Deugain mil ——————
—————— o'r genedl laddodd.

Dyna sylwedd y llinellau hyn.

"*Cwyn mawrddwys,* dau can myrddiwn,—*dynodwyd*
O eneidiau. *cofiwn,*
*Dwys hanes, os cydsyniwn,*
*Och!* oedd yn y gwarchae hwn."

—————— Dau can myrddiwn ——————
O eneidiau. ——————
——————
Oedd yn y gwarchae hwn.

"Buwch deg gadd am bech ei dwyn
Dros ddyn, *i'r hwn perthyn poen,*
I Dduw *er cael huddaw'r cwyn,*
*Ba arwydd erch,* bwriodd oen."

Sylwedd y llinellau hyn yw, Buwch a ddygid i'w haberthu a fwriodd oen.

"A'i fod hefyd *fraenllyd fri,*
*Poen i'w drin,* yn pendroni."

A'i fod hefyd, ——————
—————— yn pendroni.

"*Pwyll hynod,* pwy eill heno,
*Gwelwch frâd o gylch y fro,*
*Dawn ewybr* a'i adnabu
*Mwyn i bawb,* a'r man y bu,
A'r man yr aeth, *i'r mân ro,*
*Lengaled,* lai nag wylo."

—————— pwy eill heno,
—————— a'i adnabu
——————
—————— a'r man y bu,
A'r man yr aeth, ——————
——————lai nag wylo!

"Am draws ei ysgwydd *rwydd ran,*
*Cras grap,* mae'n cario 'sgrepan."

Am draws ei ysgwydd ——————
—————— mae'n cario 'sgrepan.

Gellir gyda phriodoldeb, alw geiriau o'r fath a ddynodwyd yn *eiriau llanw;* y mae llawer o'n beirdd wedi cael eu hudo i ddefnyddio geiriau fel hyn, drwy darawo wrth feddylddrychau tlws, a methu cael ffordd hwylus i fyned atynt; ond gormod peth yw aberthu haner cyfansoddiad er cyraedd ychydig o feddylddrychau, Y mae y blodeuyn, y gorfyddir cripiaw y dwylaw, wrth ei geisio, yn rhy ddrud. Y mae rhai o'n beirdd yn fwy darostyngedig i'r diffyg hwn, nag ereill. Y mae pob un sydd yn agored i hyn yn ymddangos fel pe byddai ar ei oreu yn cyraedd pen y tir. Gellwch farnu mai drwy drafferth fawr y cafwyd geiriau y cynghaneddion at eu gilydd; nid oes ynddynt ddim llithrigrwydd na naturioldeb; y mae y cymalau yn anystwyth, ac fel yn gwrthod asio: tra ar y llaw arall y mae cyfansoddiadau y bardd naturiol mor llyfn a digeinciau a phe byddid yn llafaru mewn iaith rydd. Pa beth sy fwy naturiol na'r darnau canlynol;—

Y meilwng a'i gymalau—sy egwan,
Ysigais'er's dyddiau;
Mae'r esgyrn yn chwyrn iachau;
Go weinion yw'r gewynau. DEWI WYN.

Ar obenydd oer, Robyn Ddû—Meirion
Yma roed i bydru,
Gwiw fardd godidog a fu:
Gwel ei fedd;—gwylia'i faeddu. GUTYN PERIS.

Mae Robert heb ymreibiaw—yn esmwyth,
O naws mwyn yn llwyddaw;
Ei dda hael i'w ddeheulaw,
Mwyaf a ddyd—mwyaf ddaw! BARDD NANTGLYN.

Paham y gwneir cam â'r cymod—neu'r Iawn,
A'i rinwedd dros bechod?
Dyweder maint y Duwdod,
Yr un faint yw'r Iawn i fod. R. AB GWILYM DDU.

* * *

Tawed am fy mrawd Dewi:
Dim drygair am Mair i mi.
Du air ebud i Rahel,
Na chas, am Ddorcas, na ddel,
Os sonir am Susana,
Canmoler d'weder ei da,

**Byth na ddatgan drwstan dro,**
**Er ei ogan, ar Iago.**
**Gwed am fai, na wyddai neb,**
**I Hana yn ei hwyneb.**
* * * PEDR FARDD.

Efallai y dadleua y beirniad nad ydyw y gair *chwyrn* yn briodol yn yr Englyn cyntaf; na'r gair *pydru* yn yr ail; ond dylid cofio mai am lithrigrwydd, a pheidio beichio llinellau â geiriau llanw, yr ydis yn dadleu yma, ac nid am chwaeth; y mae dewisiad geiriau yn dibynu yn hollol ar chwaeth (*taste*); gan fod esgyrn y bardd yn gwella yn ebrwydd, yr oedd eisiau gair i arwyddo hyny yn y llinell,

Mae'r esgyrn yn *chwyrn* iachau,

er, efallai, y buasai y gair *ebrwydd,* neu *buan,* yn fwy priodol.

Gellir dyweud yr un peth gyda golwg ar y gair *pydru*; nid *llanw* ydyw: y mae arfer rhyw air i arwyddo dodiad cyfaill yn y bedd, a'r dyben o hyny, yn ddigon goddefol; ond, efallai, y buasai gair arall megis, i *orphwys*, neu i huno yn fwy chwaethus na *phydru:* ystyr y gair *pydru* yw braenu, *to rot, to putrify;* ac nid dyben perthynasau a chyfeillion wrth gladdu eu meirw yw eu dodi yn y bedd i *fraenu.* Y mae y darnau a ddynodwyd, ar y cyfan, yn hynod lithrig, nid oes cymaint ag un gair ynddynt y gellir dyweud am dano, Dyma air *llanw.* Dylid ymgais am i'r meddyliau fod yn eglur ac yn rymus, fel na byddo yn boen i neb geisio darllen y cyfansoddiadau. Pe buasai mwy o naturioldeb ac eglurder yn ein barddoniaeth buasai mwy o ddarllen arni, fel sydd yn mysg y Saeson a chenedloedd ereill. Ni ystyrir neb yn eu plith hwy yn ysgolheigion gorphenedig (*accomplished*), heb fod ganddynt rhyw faint o chwaeth at farddoniaeth.

### III.—YR ARFERIAD GORMODOL O ANSODDEIRIAU.

PAN ysgrifenir mewn iaith rydd byddir yn ofalus i beidio arfer ychwaneg o Ansoddeiriau (*adjectives*) nag

a weddo i'r Sylweddair (*substantive*) y ceisir dangos ei ansawdd; ond mewn prydyddiaeth y mae dynion yn myned dros ben pob rheol yn hyn; arferir weithiau chwech, neu saith, neu fwy na hyny i ddangos ansawdd gwrthddrych; yr hyn fyddai yn dra hagr mewn iaith rydd; megis,

> "Elfen ei awen *loew*, *fenywaidd*,
> *Lon*, *eres*, *oleu*, *lân*, *risialaidd*,
> Oedd gwau sain *foddog*, *iesin*, *feddaidd*,
> *Ber* a *dewisol baradwysaidd*."

nid oes dim llai na *thri-ar-ddeg* o ansoddeiriau yn y penill hwn!! a hyny i ddangos ansawdd dau wrthddrych; sef, *awen*, a *sain:* dywedir fod yr *awen* yn *loew*, yn *fenywaidd*, yn *llon*, yn *eres*, yn *oleu*, yn *lân*, ac yn *risialaidd:* y mae *sain* yr *awen*, yn *foddog*, yn *iesin*, yn *feddaidd*, yn *bêr*, yn *ddewisol*, ac yn *baradwysaidd!* Y mae yr awen yn

> "*Gywir*, *wresog*, awen-*loew*, *emog*"

mewn llinell arall; gallai ei bod hi yn teilyngu yr holl glod hwn, ond y mae y llinellau a ddynodwyd wedi myned yn weiniaid wrth ei chanmol: nid oes ganddynt, braidd, ddim ond ansoddeiriau.

> "Mae'r awen *burwen*, *barod*,—*fwyn*, *oleu*,
> *Fanylwych* a *hyglod*,
> Yn *rhinweddawl*, *nerthawl*. *nod*,
> I'w chwnu* yn iach *hynod*."

Dyma un-ar-arddeg o Ansoddeiriau yn mhen un sylweddair!! Gwall ydyw hwn y syrthir iddo yn fynych: nid oes dim llai nâ saith Ansoddair yn yr Englyn buddygol canlynol:

> "*Gloew* was *siriol*, glyw *seirian*,—*gwiw*, *nawsaidd*
> Gynheswr holl anian,
> Ydyw'r haul, *araul*, *eirian*,
> Bywyd y dydd, byd o dân."

megis, *gloew*, *siriol*, *seirian*, *gwiw*, *nawsaidd*, *araul*, *eirian!*

Nid dyben y sylwadau hyn yw ceisio dangos nad oes eisiau Ansoddeiriau, ond fe'u gwneir er dangos fath beth

* Codi.

mor anmhriodol yw defnyddio cynifer o honynt yn yr un man; yn enwedig, pan fydd yn eglur i bawb mai llenwi lle geiriau ereill y byddant. Y mae gormod o Ansoddeiriau yn ymddangos mor segur mewn cyfansoddiadau, ag yw y llythyrenau segur sy mewn canoedd o eiriau Seisnig. Y rheol oreu i ochel hyn, efallai, fyddai i'r bardd ystyried pa eiriau a ddefnyddiasai mewn iaith rydd, ac egnïo, hyd y byddo modd, cael y rhai hyny i fewn: prin y credwn y defnyddiasai neb o'r awdwyr a ddynodwyd y fath grug o Ansoddeiriau pe buasent yn ysgrifenu rhyddiaith Nid diffyg galluoedd, bob amser, yw yr achos o hyn; oblegid cyfarfyddwn â'r diffyg yma mewn gweithion beirdd da; gan hyny, bai ynddynt hwy ydyw. Pan welir diffyg galluoedd mewn dyn, nid ellir llai nâ thosturio wrth ei ffolineb, am ymgais at beth sydd uwchlaw ei wybodaeth. Nid oes nemawr beth y mae dynion yn camgymeryd mwy yn ei gylch nag yw Barddoniaeth; pe byddai llawer un haner mor hurt a bongleraidd gyda rhywbeth arall ag ydyw yn hyn, canai yn iach am byth i feddwl dyfod yn mlaen, ond glynodd amryw ar hyd eu hoes i geisio gwneud rhyw fath o brydyddiaeth.

Nid ellir llai nâ gofidio dros ddynion a ant i drafferth fawr i gyfansoddi cant neu ddau o linellau, a'r synwyrol yn diflasu arnynt cyn y darlleno chwe' llinell o honynt; ac heb deimlo un awydd drachefn i ail edrych drostynt byth. Y mae yn naturiol gofyn i bwy y mae y cyfryw yn cyfansoddi. Nid i'r doeth a'r synwyrol, canys ni edrych y rhai hyny ar eu gweithion; ac nid i'r ffol, a'r diarchwaeth at farddoniaeth gynghaneddol, canys â chaniadau gwag ac ynfyd, pen-yr-heolydd, y boddlonir y rhai hyny yn fwyaf; rhaid gan hyny mai iddynt eu hunain yn gwbl y maent yn cyfansoddi.

### IV.—CYNGHANEDDION HEB FERFAU NEU BARWYDDIAID YNDDYNT.

Berf (*Verb*), neu Barwyddiad, a arferir i osod allan beth fyddwn yn gadarnhau mewn perthynas i unrhyw

wrthddrych, neu yn ei briodoli iddo. Nid oes dim bywyd yn ymddangos yn yr holl ranau ereill o ymadrodd heb Barwyddiad. Y mae Parwyddiad, mewn ymadrodd, yn debyg i'r galon yn y corff, yn ergydio y gwaed drwy y cwbl o'r aelodau. Drwy Barwyddiadau yr amlygir bodoliad, gwneuthuriad, a goddefiad; ac y mae Enwedigaethydd heb Barwyddiad yn afreolaidd:

"Dadguddiad Iôn mad i'n mysg—goreuddawn
Iôr hyddawn, er addysg;
Goleuni Duw, gleiniau dysg,
A gemau'r gwir digymysg."

Dylasai ein hawdwr fynegu am ba beth yr oedd efe yn meddwl. Y mae'r Englyn o gynghaneddiad da, ond nid oes ganddo yr un pwynt.

"Gruffydd ab Cynan, wiw eirian arwr,
Hir ysbaid didawl, a Rhys ab Tewdwr,
A Gruffydd ab Rhys ddilys arddelwr,
A Rhys ab Gruffydd dda lywydd, loew-wr:
Rhys ab Thomas da syw dwr,—cadernid
Ei wlad a'i ryddid, hylaw darweddwr."

Nid oes un awgrym yn cael ei roddi beth oedd yr enwogion uchod yn wneuthur neu yn oddef: er cael eu henwau a'r glawr, yr ydym yn y tywyllwch am eu rhinweddau. Y mae y cynghaneddion yn blethedig, ond beth yw'r synwyr? Gall y frawddeg fod weithiau yn lled hir-anadlawg, eto, os bydd ynddi Barwyddiad, bydd hwnw yn rhwymo y cwbl yn nghyd fel maen clo; megis y gwelir wrth yr engraffau canlynol:—

Hynaws *adroddai* hanes Derwyddon;
Defodau ein hen dadau diwydion,—
Eu treigl drwy fyd,—a'u traglew drafodion,—
Eu gwybodau a'u doniau diweinion,
*Oedd* ddidawl mewn celfyddydon,—eu hedd,—
Eu hir fawredd,—eu dysg,—a'u harferion. GUTYN PERIS.

Os difai ei ystafell,—ei fwyd,
Ei fir, a'i lawn lyfrgell,
A'i ddaiaf neuadd ddiell;
Ei ddysg a'i gynghor *oedd* well. ETO.

Ni fuasai y penill cyntaf ond pentwr o eiriau gwasgaredig heb y Parwyddiaid *adroddai* ac *oedd*: ac y mae

y Parwyddiad *oedd* yn y diweddaf yn cloi yr holl ymadroddion blaenorol, ac yn eu gwneuthur yn un cyfanwaith.

### V.—MEWN CHWAETH.

Chwaeth *(taste)* yw y gallu neu'r galluoedd meddyliol hyny a effeithir gan weithion y dychymyg, neu'r celfyddydau ag a ffurfia farn o berthynas iddynt; neu, y gallu i dderbyn hyfrydwch neu boen oddiwrth geinion (*beauties*) a diffygion natur a chelfyddyd. Nid oes dim mwy cyffredin yn mhlith dynolryw na'r blas a geir ar yr hyn fyddo yn dlws, yn rheolaidd, yn gyfartal, yn ardderchog, yn gyd-darawiadol, yn newydd, neu yn hoew; ac nid oes dim a rydd fwy o ddiflasder na'r hyn sydd yn drwsgl, yn annghyfartal, yn annhrefnus, ac yn annghyd-darawiadol. Y mae plant yn dangos egwyddorion chwaeth yn fore, mewn mil o ffyrdd; yn eu hoffder o wahanol wrthddrychau. Y mae y werinos mwyaf hurt yn cael hyfrydwch oddiwrth ystorïon, a cherddi, &c. Y mae y gallu hwn mewn gwahanol ddynion yn dra gwahanol. Nid oes ond ychydig o chwaeth i'w weled mewn llawer, a hyny sydd, y mae o'r natur arwaf a mwyaf anniwylliedig. Nid ydyw y rhan fwyaf o weithion athrylith ond pethau dynwaredol o natur; dangosiad o gymeriadau, gweithrediadau, ac ymarferiadau dynion. Y mae yr holl hyfrydwch ydym ni yn ei fwynhau oddiwrth y fath ddynwarediadau wedi ei sylfaenu ar chwaeth; ond i'r deall y perthyn barnu pa un a ydynt wedi eu gwneud yn iawn, yr hwn a gydmara y darlun, neu y dynwarediad â'r gwreiddiol.

Arwydda tynerwch chwaeth berffeithiad y teimlad naturiol hwnw, ar yr hwn y mae chwaeth wedi ei sylfaenu. Y mae yn cynwys y galluoedd coethedig sydd yn ein cynhorthwyo i ganfod y ceinion (*beauties*) sy guddiedig oddiwrth lygaid y werinos (*vulgar*).

Arwydda cywirdeb chwaeth y gwellâd y mae y gallu hwnw yn ei dderbyn drwy ei gysylltiad â'r deall. Nid ellir byth dwyllo y dyn o chwaeth cywir â phrydferth-

wch ffugiol; oblegid y mae efe yn dwyn yn wastad yn ei feddwl ei hun brofiedydd o synwyr cryf, wrth yr hwn y mae efe yn barnu pob peth.

Diffyg mewn chwaeth fyddai rhoddi menyw i siarad mewn iaith gref fel arwr. Neu ddodi hyawdledd Brougham yn ngenau bugail.

Diffyg chwaeth yw yr achos o arferu geiriau ac ymadroddion isel mewn darluniadau; 'a gyru cyffelybiaethau yn rhy bell; y mae ambell un, pan gaffo flodeuyn, yn ei wasgu ac yn ei anffurfio yn gymaint, wrth geisio dangos ei brydferthwch, nes y bydd yn hyfryd genych ei weled yn ei ollwng o'i law rhag achosi dim ychwaneg o boen i chwi. Y mae dynion o'r darluniad hwn, am gael dyweud y cwbl a ellir ei ddyweud ar fater, heb adael dim lle i'ch meddwl chwi weithredu.

Dengys y llinellau canlynol iselder chwaeth:—

DINYSTR JERUSALEM.

"A gweled llueddawg alon—afiwys,
*Yn hel yr eglwys yn dail a rhuglon.*
* * * *

"Lladd a rhwygo *sagio* sydd.

"Eto mynant lwyr chwilio'r *tomenau,*
Mewn ysig adwyth am hen *esgidiau,*
Neu *grwyn drewllyd, esgyrn a drylliau,*
Neu *olion bawlyd* i lenwi eu boliau,—
*Gwasarn* a hen *wregysau*—a *gnöant,*
Y *dom* a ysant—O dyma eisiau!

"*Blingant,* berwant, heb eiriach,
Bob yn *bwys y baban bach.*
* * *

"Y wraig dyner a *rwyga* â'i *danedd*
Ei *baban* anwyl.—
* * *

"Yn ei chur a gwyn o'i cho',—yn gwanu
Ei gwyn *blentyn sugno,*
Gan ei drin a'i *gnoi.*—
* * *

"Wedi'r boen i *waedu*'r bach
*Diaelodi*'r diledach.
* * *

"Profwch rhyw *larp* o'r *afu*,
*Darn* o'r *fron* neu'r *galon* gu."
* * *

Salem sy'n llawn o gyrff seilion—drwyddi
Mae'n *arogli fel tomen ruglion*."

Y mae y darnau uchod, o'r braidd, yn rhy erchyll i'r rhai a feddant '*taste for the horrible;*' ac y maent yn dangos iselder chwaeth i'r eithaf; nid oedd gan ein hawdwr un ffordd i fyned at ein teimladau ond drwy eu haredig a'u rhwygo yn y modd mwyaf arswydus: aeth a ni i'r *dissecting room* ar unwaith; a pha deimlad a all oddef ei ddarluniadau garw: y maent yn isel ac yn arw. Y rhagor sy rhwng y darluniad a rydd Jeremiah o hyn; mor gynil y llefara y proffwyd am dano; nid ydyw yn defnyddio un sill, na gair, nad oedd ei eisiau, "Dwylaw gwragedd tosturiol a ferwasant eu plant eu hun: eu hymborth oeddynt yn ninystr merch fy mhobl," (Galar. iv, 10). Ond y mae awdwr y llinellau a ddynodwyd yn trin y peth, ac yn troi o'i amgylch, yn barhaus, nes yr ydys yn ffieiddio y darlun.

Y mae llawer o'n beirdd yn chwanog (yn enwedig wrth gyfansoddi Marwnadau) o ddynodi y gwrthddrych y galerir ar ei ol, yn barhaus: megis, y *gwr*, *wr*, *Gymro*, *gwron*, *gwladwr*, fel,

"Ail Owen Gwynedd *ŵr* rhïeddog;
A *gŵr* ydoedd ail i Garadog;
Hafarch fel Llywarch Hen alluog
Oedd yr hynod *lueddwr* enwog;
Bu mewn llafur fal Arthur wyrthiog,
Am wir Ryddid:—*filwr* mawreddog."

Dyma *gwr* ddwywaith, a *llueddwr* o *filwr* yn y penill hwn.

Gellir rhifo mewn un awdl, yr hon nad ydyw ond o hyd canolig, y gair *gwr* wedi ei arferu dros ugain o weithiau, a hyny heb ei eisiau gymaint ag un waith; ond y mae yn wir y newidir y dull; bydd ambell waith yn blaenori yr ansoddair; waith arall ar ei ol; megis, *wr enwog*, *enwog wr*; *wr hoew*, *hoew wr*; *eon wr*, *wr eon*; *&c.*, *erfai wr*; *wr dewrfyg*, *fyg wr*, &c. heb son

am enwau ereill, megis Cymro, gwron, llueddwr, arwr, noddwr, &c., &c., &c. Y mae hyn yn tueddu i wanychu cyfansoddiad yn fawr. Onid gwell a mwy priodol fyddai arferu rhagenwau, yn lle beichio llinellau yn y fath fodd trwsgl?

## VI.—Y CHWYDDIAETH.

CHWYDDIAETH sy gynwysedig mewn gwthio gwrthddrych cyffredin a gwael o'i le priodol, gan gesio ei godi i sefyllfa oruchel; neu drwy geisio codi gwrthddrych sydd ynddo ei hun, eisoes, yn oruchel (*sublime*), tu hwnt, i bob terfynau natur a phriodoldeb. Y mae yr ysgrifenwyr a hoffant y dull hwn o gyfansoddi yn tybio os cant ddigon o eiriau ysplenydd i ddysgleinio ar lygaid y darllenydd, pentwr o ansoddeiriau, a nifer o ymadroddion chwyddedig, uwchlaw a arferir gan y cyffredin, eu bod hwy yn sicr yn ngafael y dull goruchel (*sublime*): ond nid ydynt wedi deall mai yn y meddwl, ac nid yn yr iaith, y mae y gorucheledd yn bodoli. Ceir gweled rhai o'r llwyth hwn yn cymeryd cymaint o drafferth arnynt eu hunaint, i chwilio am eiriau mawr a chwyddedig, i ddyweud am ddiffoddiad canwyll frwynen, a phe byddai y *Georgium Sidus* yn cwympo; dodant gymaint o'u nerth ar waith i osod allan chwaliad sypyn o bridd y waudd, ag a fyddai eisiau i ddyweud am yr Wyddfa yn neidio oddiar ei gwadnau. Y maent am wneud y diffyg sydd yn eu meddylddrychau i fyny â geiriau swnfawr a chwyddedig. Ceir eu gweled yn dechreu hwylio eu camrau tu a *Parnassus*, yn galw am gymorth *Apollo*, yn yfed o *Hippocrene*, ac yn cyfarch *Calliope*, *Clio*, ac *Erato*, pe na byddai arnynt ond eisiau cyfansoddi cerdd i'r *llwynog melyn*, ar fesur Triban! Y mae y rhan fwyaf o'r marwnadau cyffredin a gyfansoddir yn llawn o chwyddiaeth afresymol. Llawer dyn oedd yn ystod ei fywyd yn orthrymus, yn genfigenllyd, yn anghyfiawn, ac yn feddw, &c., mor gynted ag y byddo farw, ceir gweled amryw ymgeisyddion yn cyfansoddi marwnad iddo; a phriodolant iddo luaws o rinweddau na wybu

efe erioed beth oedd meddianu cymaint ag un o honynt. Bydd creigiau y gymydogaeth yn wylo; y blodau yn gwywo; ac anian yn pruddhau gan alar; bydd tlodion yr ardal yn gwelwi gan ddigalondid, o herwydd marwolaeth un, a fuasai yn anos ei gŵn yn gynt i drueiniaid nag yr estynasai law o gymorth iddynt: yr oedd yn ddysgedig, er nad oedd yn medru darllen iaith ei fam; yr oedd yn engraff o rinwedd, er nad oedd erioed wedi plygu ei liniau i ofyn am drugaredd: yr oedd wedi bod yn fendith i'r holl wlad, er nad oedd o un cymorth i neb yn yr un fro ag ef. Pe'r atebasai llawer gwrthddrych a folwyd, ac a ddyrchafwyd gan y beirdd, i'r cymeriad a roddwyd iddynt, ni fuasai y cyfryw rai yn addas i fyw yn mhlith dynion marwol a llygredig. Yr oeddent yn debycach i rai o breswylyddion bro anfarwoldeb, nag i neb ar y ddaear. Y fath symiau mawrion o arian sydd wedi cael eu gwastraffu i geisio codi cofgolofnau i rai y mae eu henwau yn pydru; tra y mae y rhinweddol, a'r duwiol, mewn llawer ardal, wedi eu hesgeuluso yn gymaint, fel na wyr yr hynaf yn y fro, yn mha le y mae ei fedd; er hyny, y mae gweithredoedd y cyfryw un, er ei farw, yn llefaru eto.

Chwyddiaeth yw hefyd ceisio codi gwrthddrych, sydd eisoes yn oruchel, uwchlaw holl derfynau natur a phriodoldeb; megis, pe dywedid fod pen Samson gymaint a Charnfadryn, a'i gorff a'i aelodau mewn cyfartaledd i hyny; neu fod digon o waed yn ngwythienau Goliath i nofio llong; neu fod un o gedrwydd Libanus, wedi ei thynu o'r gwraidd, yn rhy fach i fod yn llawffon i un o gawri meibion Anac. Seiniai pethau fel hyn yn rhyfedd yn nglustiau yr anwybodus, a byddent yn barod i ryfeddu at alluoedd cryfion y dyn a gai allan y fath ddirgelwch; pan, mewn gwirionedd, na fyddai y fath afresymoldeb, ond yn dangos, naill ai hollol amddifadrwydd o athrylith, neu ddirfawr dlodi a gwaeledd yr athrylith a feddianid.

Clywir llawer o chwyddiaeth mewn areithiau yn gystal ag mewn barddoniaeth; yr hyn a adnabyddir

yn gyffredin wrth yr enw ewyn (*froth*). Mewn llafur; geiriau tywyll, hirion, a chlogyrnaidd yn cael eu bwrlymu; cymylau o dawch yn codi; y gwrandawyr yn foddfa o chwys; a mawr y rhyfedda yr anwybodus a'r diddysg at fedrusrwydd yr areithydd; ond ni fydd ganddynt ddim i'w ddyweud am dano wedi y darfyddo, ond ei fod ef yn gryf iawn; ac fod ei lais o yn dàl yn dda; tra y byddo y synwyrol yn myned ymaith wedi ei glwyfo gan anwybodaeth y cyfryw. Peth ffol fyddai ceisio cynyrfu yr *Atlantic Ocean* i foddi gwybedyn!

---

## CYFARWYDDIADAU I YSGRIFENU I'R WASG.

Wrth ysgrifenu i'r Wasg dylid gofalu am beidio dodi y llinellau yn rhy agos i'w gilydd. A lle byddo brys yn ofynol; ar ran yr Argraffydd, gwell peidio ag ysgrifenu ar ddau du i'r ddalen, bydd yn haws rhanu y gysgrif (*copy*) rhwng y Cysodwyr felly er cael y gwaith allan yn fuan. Er mwyn hwylusdod gwell tori y papur o faintioli cymedrol; sef, pob llen bedwar-plyg i bedwar o ddarnau; a'r llen hir i wyth o ddarnau. Doder y rhif 1, 2, 3, 4, &c. naill ai ar y gongl aswy uchaf, neu yn y gwaelod. Gwell gan rai gael y rhif yn ngwaelod y papur, a gellir felly ddodi llinyn drwy y gongl uchaf ar yr aswy i ddal y darnau yn nghyd. Os na fydd yr efrydydd ieuanc yn deall y trefniant o atalnodi yn dda, gadawed hyny i'r Argraffydd. Ond dylid cofio am i bob brawddeg gael ei dechreu gyda llythyren benigol; a phob difyniad o waith rhyw awdwr arall.

Gofaler yn neillduol am ysgrifenu pob geiriau perthynol i'r celfyddydau a'r gwyddoriaethau yn eglur; a phob enwau dynion a lleoedd.

Tyner llinell o dan pob gair y dymunir iddo fod mewn llythyrenau Italaidd—ac os byddir yn dewis cael geiriau mewn llythyrenau penigol, tyner dwy linell er cael llythyrenau penigol mân, a thair llinell er cael llythyrenau penigol mwy. Ond goreu pa leiaf a arferir o honynt i'r awdwr ei hun ac i'r argraffydd hefyd.

Os byddir yn dewis gwneud dau neu dri Gwahanran (*Paragraph*) o un a fyddo wedi ei ysgrifenu yn lled hir, doder yn niwedd y frawddeg, lle y dymunir i'r gwahaniad fod, Ymsangau gefn gefn fel hyn ] [ Yna gwneir y cyfnewidiad heb ychwaneg o drafferth.

Gocheler llawer o nodau cyfeiriol yn ngodre y dail, er eu bod yn cael eu harfer gan awdwyr o enwogrwydd. Heblaw eu bod yn gwneud gwaith yr Argraffydd yn ddrutach y maent yn boenus i'r darllenydd. Os bydd eisiau egluriadau helaeth a manwl ar ryw bethau fyddo yn nghorff y gwaith, doder hwynt yn niwedd y llyfr gyda'u gilydd. Os na fydd Cysodwyr yn bur gynefin â'r llawysgrif, y mae yn gofyn cymeryd cryn drafferth i ysgrifenu yn eglur. Eglurder yw y cwbl a ofynir.

Doder llinell o amgylch pob peth na fyddir yn dymuno iddo gael ei argraffu; arbeda hyny lawer o ddyryswch ac o anghysur.

Os byddir am i'r enw ymddangos drwy y wasg ysgrifener o yn ofalus rhag camgymeriad.

## EGLURHAD AR EIRIAU PERTHYNOL I'R GELFYDDYD O ARGRAFFU.

Gellir yn bresenol egluro rhai o'r geiriau perthynol i'r gelfyddyd o argraffu; sef, Cysodwyr, Cysgrif, Gwasgwyr, Argraffwyr, Prawflen, &c.

Cysodwyr yw y rhai sydd yn gosod y llythyrenau wrth eu gilydd.

Cysgrif (*copy*) y gelwir y mater a fyddant yn ei osod, pa un bynag ai o lyfr, neu bapur argraffedig, ai o lawysgrif y cymerant ef,

Gwasgwyr yw y dynion sydd yn dodi yr argraff o'r llythyrenau ar y papur.

Argraffydd mewn ystyr briodol yw yr hwn sydd yn arolygu y cyfan.

Gan fod y Cysodwyr goreu yn agored i wneud camgymeriadau wrth osod y llythyrenau, rhoddir prawflen argraffedig o'u gwaith i'r hwn a elwir Darllenydd, yr hwn a'i cydmara yn ofalus gyda y cysgrif wreiddiol.

Wedi hyny anfonir y brawflen ddiwygiedig i'r Cysodydd drachefn, yr hwn a dyn ymaith y llythyrenau beius, ac a ddoda rai ereill yn eu lle, ac a wna bob gwelliadau ereill angenrheidiol. Ceir yn gyffredin ychwaneg nag un brawflen fel y sicrhaer cywirdeb. Wedi i'r llythyrenau gael eu gosod wrth eu gilydd fe'u gelwir yn fater, ac wedi iddynt gael eu dodi mewn ystram (*frame*) o haiarn, fe elwir y cwbl wedi hyny yn *fforme*.

Cyhoeddwr yw yr hwn fyddo yn rhoi y gwaith allan neu yn ei werthu. Nid yw pob Argraffydd yn Gyhoeddwr. Bydd Cyhoeddwr, weithiau, yr hwn na fedd unrhyw berthynas â'r wasg fel Argraffydd, yn prynu cysgrif o waith awdwr, ac yn cytuno â'r Argraffydd ei hunan. Dyna y ffordd mwyaf didrafferth i'r awdwr. Nid llawer o Gyhoeddwyr sydd yn Nghymru heblaw yr awdwyr eu hunain.

Golygydd yw yr un fyddo yn edrych dros Newyddiadur, Misolyn, neu ryw lyfr arall, er cael y gwaith allan mewn dull priodol. Y mae y Golygydd i edrych dros bob ysgrif a gynygir i gyhoeddiad, a dylai wneud y cyfnewidiadau gofynol cyn ei dodi yn llaw y Cysodydd; sef, tynu rhai ysgrifau i haner yr hyd y bydd eu hawdwyr am iddynt gael ymddangos. Gwneud ereill yn eglurach, drwy newid sefyllfa geiriau mewn brawddegau; a newid geiriau hefyd weithiau. Nid llawer o ofal, yn yr ystyr yma, sydd yn cael ei gymeryd gyda y wasg Gymreig, ac onidê ni chaem weled cynifer o ysgrifau anmrwd a llymrig yn ymwthio drwy y wasg o fis i fis. Achosir hyn y mae yn debyg drwy fod naill ai dynion annghymwys yn cymeryd arnynt olygu Cyhoeddiadau, neu nad ydyw y llyfrau a gyhoeddir yn ateb i roddi cyflog i Olygydd am golli ei amser i wellâu cyfansoddiadau afler a beius. Y mae y Saeson o'n blaenau ni yn mhell gyda'r mater yma. Mynant hwy y dynion goreu o ran eu galluoedd, eu chwaeth, a'u manylder, a allant gael am eu harian, a dyna yr achos fod rhai o'r traethodau goreu a mwyaf ysblenydd yn yr oes yma yn ymddangos yn ein Newyddiaduron dyddiol

ac wythnosol ; ond y mae dynion yn troi yn awdwyr, ac yn Olygwyr Cyhoeddiadau yn Nghymru, heb fyned drwy un math o brawf, na bod dan gyllell ysgythru beirniadaeth erioed. Bydd yn rhoddi ychydig ddifyrwch ini weithiau, glywed ambell un o'r cyfryw yn mynegu ei farn o berthynas i'r llyfr yma, neu y llyfr acw, o'r Gadair Olygyddol. Nid allem lai nâ synu na fuasai cywilydd ar wyneb llawer un wrth glywed ei hun yn llefaru, gyda'r fath hyfder, wrth Dywysogaeth o ddynion, ac yn eu plith lawer o ddynion profedig, fel ieithwyr ac ysgrifenwyr. Clywsom fod rhai yn cymeryd arnynt swydd Golygwyr na fedrant sillebu yn gywir, yn ol unrhyw Orgraff, na gosod brawddeg wrth ei gilydd yn briodol, heb help Cysodwyr. Trueni na fyddai y safon Olygyddol yn uwch yn Nghymru nag ydyw, ac na fyddai Beirniadydd yn cael ei gyhoeddi o fis i fis, nid i adolygu llyfrau, *er mwyn eu gwerthu*, ond er coethi chwaeth yr oes fel y delo i wybod am ba lyfrau i wario ei harian.

Y mae gormod o ysbryd sectaidd yn Nghymru. Dylanwad hwn sydd yn effeithio i raddau mawr yn ein marchnad lênyddol. Y mae pob sect yn barnu ei champwyr a'i llyfrau ei hun yn oreu, pa un bynag a fyddant felly ai peidio. Nid eir ond i ychydig o drafferth i chwilio beth sydd wir deilwng, nag i wahaniaethu rhwng y naill a'r llall, gan ddangos yn mha beth neu bethau y maent yn rhagori. Dim ond cael breinteb (*patent*), y sect, a daw pob peth o'r goreu. Nid fel hyn y mae yn mysg y Saeson. Adolyga y naill sect waith y llall yn Lloegr. Pa bryd y daw Cymru i ddilyn eu hesiampl? Y cyhoeddiad sydd wedi dyfod nesaf i hyn yn Nghymru yw y TRAETHODYDD. Y mae y cyhoeddiad teilwng hwn wedi dàl y dafol yn o deg o'i gychwyniad cyntaf allan. Y mae yr ADOLYGYDD yn y Deheubarth yn debyg o ddilyn ei ol.

---

CAERDYDD: ARGRAFFWYD GAN W. OWEN.